# HYMNAU A SALMAU.

YR

# HYMNAU

GAN MWYAF O WAITH

## Y PARCH. WILLIAM WILLIAMS,

O BANTYCELYN;

A'R

# SALMAU

GAN

## Y PARCH. EDMUND PRYS,

O FEIRIONYDD.

Wedi eu casglu ar ddymuniad ac at wasanaeth

Y

**Methodistiaid Calfinaidd**

YN LIVERPOOL,

GAN

RICHARD WILLIAMS A JOSEPH WILLIAMS.

---

"Canaf i'r Arglwydd tra fyddwyf byw: canaf i'm Duw tra fyddwyf."
SALM CIV. 33.

---

LIVERPOOL:
PRINTIWYD DROS YR ENWAD UCHOD
GAN R. LL MORRIS.

1840.

# RHAGYMADRODD.

*Os gofynir paham y daw y Casgliad hwn allan pan y mae cynifer o Gasgliadau o'r fath wedi eu cyhoeddi yn barod, nid oes genym ateb gwell i'w roddi na'n bod wedi cymeryd y gorchwyl ar ddymuniad Cyfarfod Misol pregethwyr a henuriaid y Methodistiaid Calfinaidd yn Liverpool.*

*Pe ceisiasai ein brodyr genym wneyd newidiadau neu ddiwygiadau mewn synwyr neu farddoniaeth yn Hymnau Williams, ac ereill, diau y buasem yn cilio yn ol mewn arswyd, rhag cymeryd arnom y fath orchwyl. A phe gofynasid i ni gymeryd yr Hymnau fel y maent wedi eu diwygio gan ereill, y mae archwaeth pobl mor wahanol, a'r diwygiadau ar yr un pennillion mor amryw, fel y buasai yn anhawdd iawn gwybod pa ddiwygiad i'w ddewis: ond gan mae eu cais ydoedd cael odlau yr hen Brydyddion Cymreig heb eu newid, ni a gydsyniasom i ymaflyd yn y gwaith, gan hyderu nad ydym, wrth gyhoeddi Hymnau yr hen bobl yn eu gwisg gyntefig, yn rhoddi achlysur teg i neb dramgwyddo.*

*Ac felly ni bydd neb i'w beio am wall-synwyr, neu gam-brydyddiaeth yr Hymnau hyn, ond eu cyfansoddwyr gwreiddiol: er y bydd yr holl feiau detholiadol ac orgraffyddol wrth ddrysau y casglyddion. Beiau orgraffyddol, meddwn, oblegid ein bod, er mwyn unffurfiaeth, wedi ymgais at ddilyn yr un orgraff trwy yr holl lyfr.*

*Tuag at wneuthur y Casgliad hwn yn fuddiol ac yn dderbyniol, yr ydym wedi defnyddio* pob mantais a ymddangosai *i ni yn mhob casgliad ac y gwyddem* am dano: ond os

*ydym wedi dilyn un o honynt mwy nag ereill, "Grawn-sypiau Canaan," gan y diweddar Barch. Robert Jones, yw hwnw; oblegid mai dyna y llyfr Hymnau sydd wedi bod mewn mwyaf o arferiad yn mhlith y Methodistiaid, yn Ngogledd Cymru y deugain mlynedd diweddaf; ac felly y gall y nifer mwyaf yn ein plith gaffael unrhyw bennill a ddewisont, wrth fod y llyfr ar y cynllun hwnw, yn haws, ysgatfydd, na phe buasai ar ryw gynllun arall.*

*Ni ddymunem osod un rheol bendant i lawr am y modd y dylid rhoddi allan a chanu y pennillion hyn. O bydd rhai yn dewis y dull Seisnig o ganu Hymn gyfan ar y tro, ceisiasom drefnu yr Hymnau yn gyfleus i hyny, trwy eu gwneyd yn gymedrol o ran hyd, a gochel rhag i'r naill ran o Hymn fod yn mhell iawn o ran mater, oddiwrth y rhan arall. Ond os bydd rhai yn dewis yr hen ddull Methodistaidd o ganu dim ond un pennill neu ddau ar y tro, a dyblu a threblu, yn ol y blas a gaffer, ar yr un geiriau—"dywedyd eilwaith Aleluia," &c. ceisiasom gyfaddasu y llyfr at wasanaeth y rhai hyny hefyd, drwy roddi Dangoseg o bob pennill yn niwedd y llyfr.*

*Bellach gadawn i hyn o lyfryn fyned allan i blith ein cydgenedl, a dywedwn wrtho ar ei gychwyniad, "Dos a'r Arglwydd a fyddo gyda thi." Bydded i hynawsedd y rhai a'th dderbyniont, guddio dy holl ffaeleddau—bydded i'th ddarllenwyr dderbyn trwot, lawer o hyfrydwch ac adeiladaeth —a bydded i'th ganiadau fod yn nghynnulleidfaoedd y saint,*

"Fel pe disgynai gwlith Hermon,
Yn dô dros Sïon fynydd;
Lle rhwymodd Duw fywyd a gwlith,
Ei fendith yn dragywydd."

*Liverpool,*
*Hyd. 20, 1840.*

*RICHARD WILLIAMS.*
*JOSEPH WILLIAMS.*

# CYNNWYSIAD YR HYMNAU.

---

## ERRATA.

Yn lle *Arweinydd yr Ysbryd*, tudalen 181, darllener *Arweiniad yr Ysbryd*.

Yn lle *W. W.* tudalen 191, darllener *D. M.*

Yn lle *Yw'm sylfaen o barhau*, tudalen 219, darllener *Yw'm sylfaen i barhau*.

Yn lle *M. C.* tudalen 198, darllener *M. B.*

Yn lle *sydd yn ei feddiant nef*, tudalen 315, darllener *sydd yn ei feddiant Ef.*

Yn lle *A fodd 'tifeddion* 309, tudalen 408, darllener *A fodd 'tifeddion* 307.

Yn lle *Anfeidrol ydyw* 898, tudalen 409, darllener *Anfeidrol ydyw* 198.

Yn lle *Angeu yw terfyn* 357, tudalen 409, darllener *Angeu yw terfyn* 375.

Yn lle *Ar Dduw yn Arglwydd* tudalen 409, darllener *Ar Dduw yr Arglwydd*.

Yn lle *Da genyf wrando'r* 370, tudalen 413, darllener *Da genyf wrando'r* 395.

Yn lle *'Dai 'mofyn haeddiant* 113, tudalen 413, darllener *'Dai 'mofyn haeddiant* 183.

*A adawyd allan o'r Dangoseg.*

# HYMNAU.

## HYMN I. (8. 7. D.)

*Duw a Digon.*

1 O AM nerth i dreulio'm dyddiau,
Y'nghynteddoedd tŷ fy Nhad;
Byw y'nghanol y goleuni,
Tywyllwch obrŷ tan fy nhraed:
Byw heb fachlud haul un amser,
Byw heb gwmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol,
Pur y croeshoeliedig Oen.

2 Dyro olwg ar dy haeddiant,
Golwg ar dy deyrnas râd;
Brynwyd i mi ac a seliwyd,
Seliwyd i mi â dy waed:
Rho i mi gyrchu tuag ati,
Peidio byth a llwfrhau,
Ar fy nhaith ni cheisiaf genyt,
Ond yn unig dy fwynhau.

3 Ac ni cheisia'i drysor arall,
Ond tydi tr'wy' yn y byd;
'Rwyt ti'n ddigon byth dy hunan,
Dim ond ti a lanw 'mryd:
Nid oes gystudd byth wna niwed,
Pan bwy'n pwyso ar dy rym;
Hebot nid oes rwyd gan Satan,
Na wna'n rhyw fodd niwed im'.

4 Gyda thi mi âf trwy'r fyddin,
Gyda thi mi âf trwy'r tân;
Nid ofnaf ymchwydd yr Iorddonen,
Ond i ti fyn'd o fy mlaen:
Ti yw'm hamddiffynfa gadarn,
Ti yw 'Mrenin a fy Nhad;
*Ti dy hunan* oll yn unig,
*Yw fy iach*awdwriaeth râd.

W. W

## HYMN II. (8. 7. D.)

*Gruddfan mewn tywyllwch.*

1 GWLAD o d'wllwch wyf yn trigo,
Aipht yw'r màn lle'r wyf yn byw,
Y mae tywyllwch wedi'm d'rysu,
Tywyllwch anorchfygol yw:
Cyfod haul cyfiawnder goleu,
'Nawr llewyrcha yn dy nerth,
Danfon feddyginiaeth rasol,
Dros y creigydd mawrion serth.

2 D'wed pa bryd ca'i yfed dyfroedd,
Dyfroedd gloyw sy'n iachâu,
Pob rhyw bleser wedi darfod,
Ond yn unig dy fwynhau:
Pwyso'm henaid ar dy fynwes,
Edrych yn dy wyneb llòn,
Caru nes anghofio'r oriau,
Sy i mi ar y ddaear hòn.

3 Ffynnon wyt o bob tosturi,
Nid oes gwybod faint dy râs,
Dy haelioni sydd yn cynnal,
Pob peth dàn yr awyr lâs:
Dal fy ysbryd gwàn i fynu,
Edrych ar y bryniau mawr,
Sydd yn pwyso ar fy nghalon,
Ac yn ceisio'm dodi lawr.

4 Os gwaredi fi o'm cyfyngder
Ac os sefi ar fy rhan,
Os gostegi rym y storom,
Os cynheli fi i'r làn;
Ti gai nhafod, ti gai nghalon,
Ti gai feddwyf yn y byd,
Ti gai'r clod, a thi gai'r moliant,
Ti gai'r enw i ti' gyd.

W. W

## HYMN III. (8. 7. D.)

*Hiraeth am gymdeithas â Duw.*

1 O IACHAWDWR pechaduriaid,
  Sydd a'r gallu yn dy law;
Rho oleuni hwylia'm henaid,
  Dros y cefnfor garw draw:
Gad i'r wawr fod o fy wyneb,
  Rho fy enaid llesg yn rhydd,
Nes i'r haulwen ddysglaer godi,
  Tywys fi wrth y seren ddydd.

2 Bellach minau'n ëon deuaf,
  Mi ymgrymaf wrth dy draed,
Ac mi blediaf am drysorau,
  Wedi eu haddo oll yn rhad;
Nid oes neb o dan yr wybr,
  Mewn mwy diffyg, mewn mwy trai,
Tlawd o'r cyfan, ond yn benaf,
  Tlawd wyf Arglwydd o'th fwynhau.

3 O foreu-ddydd y briodas,
  Gwyn fyd welai'r ddedwydd awr;
Gwel'd wyneb-pryd y priod-fab,
  Clywed llais y delyn fawr:
Awn tàn ganu tros y moroedd,
  Meithion tua'r hyfryd wlad,
Ac anghofiwn hen gariadau,
  Gwag bleserau tŷ fy nhad.

4 Blinais ar afonydd Babel,
  Nid oes yno ond wylo i gyd,
Llais telynau hyfryd Sïon,
  Sydd yn gyson dynu 'mryd:
Tyr'd a ni yn dorf gariadus,
  O gaethiwed Babel fawr,
Ac nes bo'm ar fynydd Sïon,
  Na'd ni osod clun i lawr.

W. W.

## HYMN IV. (8. 7. D.)

*Crist yn ddigon yn angeu.*

1 PA fodd yr âf i trwy'r Iorddonen,
Oni ddeui di dy hun,
Yno i dòri grym y tonau,
Ac i gynnal eiddil un:
Dal fy mhen i'r làn yn gadarn,
Pan bo angeu'n fawr ei rym,
Pledia'n wrol yn ei wyneb,
Pan na bwyf yn gallu dim.

2 Mae 'nghyfeillion wedi myned,
Draw yn lluoedd o fy mlaen,
Rhai sy'n myn'd trwy ddyffryn Baca,
Gyda mi i Salem lân;
Yn y dyffryn tywyll garw,
Ffydd i'r làn a'u daliodd hwy,
Mae'r addewid lawn i minau,
Pa'm yr ofna'm henaid mwy.

3 A oes neb o'm holl gyfeillion,
A ddaw'n ddiddig gyda mi,
Ac a orwedd wrth fy ochr,
Obry yn y ddaear ddu?
A yw cyfaill ddim ond hyny,
Taflu dagrau, newid gwedd,
Pan bo'r pridd, a'r clai, a'r cerig,
Arnai'n cwympo yn y bedd.

4 Ffarwel i chwi gynt a gerais,
Nid yw'ch cwmni, nid yw'ch gwedd,
Nid yw'r cariad sy'n eich calon,
Ragor, na d'od hyd y bedd;
Pan ddel angeu chwi ffowch ymaith,
Da i mi fod genyf DDUW,
Ffrind fo gydaf wedi marw,
Hwnw garaf fi yn fyw.

W. W.

## HYMN V. (8. 7. D.)

*Gwagedd y byd.*

1 O YNFYDRWYDD! O ffolineb!
I mi erioed i roddi mryd,
Ar un tegan, ar un pleser,
Welais i etto yn y byd;
Y mae'r byd yn myned heibio,
A'i deganau o bob rhyw,
Tan y nef ni thâl ei garu,
Wrthddrych arall ond fy Nuw.

2 O derchafa'm henaid egwan,
Y mae bellach yn hwyrhau;
Hir yw'r amser i och'neidio,
Gwna fi o'r diwedd lawenhau:
Moroedd mawr a bryniau lawer,
Pellder annyoddefol sŷ;
Ac anialwch maith digymhar,
Rhyngof a'm Hanwylyd cu.

3 Dysgwyl pethau gwych i ddyfod,
Croes i hyny maent yn dôd;
Meddwl forŷ daw gorfoledd,
Forŷ'r tristwch mwya' erioed;
Meddwl byw ac etto marw,
Yw'r lleferydd dàn fy mron,
Bob yn ronyn mi rof ffarwel,
Ffarwel glân i'r ddaear hon.

4 Tragwyddoldeb mawr yw d' enw,
Ti mae'n debyg yw fy lle,
Huriwr un diwrnod ydwyf,
Frŷ mae'm cartref yn y ne';
Mae'm diwrnod bron a gorphen,
Mae fy haul bron myn'd i lawr,
Mae pob awel yn fy chwythu,
Tu a'r tragwyddoldeb mawr.

## HYMN VI. (8. 7. D.)

*Ffordd iachawdwriaeth.*

1 NID oes angel, nid oes seraph,
  Yn y nefoedd fawr a gaed,
All'sai *ffeindio* allan foddion,
  I fy enaid gael iachâd;
Mae yma ddyfnder o ddirgelion,
  Maith goruchel iawn eu rhyw,
A ddyfeisiwyd cyn bod amser,
  Gan ddoethineb bur fy Nuw.

2 Mae'm cydwybod oedd mewn terfysg,
  Ac yn ofni'n arw iawn,
Heddyw'n dechreu a llonyddu,
  Wel'd y Meichai'n talu'n llawn;
Taliad holl ofynion Duwdod,
  Ag sydd o anfeidrol fri,
Taliad holl ofynion cyfraith,
  Taliad sicr iawn i mi.

3 O ddyfnderoedd! O ddoethineb!
  O ddyfnderoedd maith o ras!
O ddyfnderoedd anchwiliadwy!
  Fythol uwch eu chwilio maes:
Mae seraphiaid nef yn edrych,
  Gyda syndod bob yr un,
Ar ddyfnderoedd cariad dwyfol!
  Duw yn marw tros y dyn!

4 Fyth i'r Tad y bo'r gogoniant,
  Roi a derbyn y fath rodd;
Fyth i'r Mab y bo'r un moliant,
  Am ddisgyn yma 'lawr o'i fodd!
Fyth i'r Ysbryd bo'r anrhydedd,
  Am ddatguddio'r ddyfais râd;
Ac am selio a rhoi ernes!
  Fod Eiriolwr gyda'm Tâd.

W. W,

## HYMN VII. (8. 7. D.)

*Goruchafiaeth ffydd.*

1 TYRED Arglwydd i'r anialwch,
Yma buost ti o'r blaen,
Arwain b'rerin llesg difedr,
A dy golofn niwl a thân;
Dal fy ysbryd sy'n llewygu,
Gan ryw ofnau o bob màn,
Yn dy allu 'rwyf yn gadarn,
Hebot ti nid wyf ond gwàn.

2 Cyfod haul sy'n rhwygo'r t'wyllwch,
Cyfod nerth sy'n briwio chwant,
Gyr holl ofnau anghrediniaeth,
Fel rhyw niwlen fygddu' bant;
Rho i'm wel'd yr ardal hyfryd,
Man lle mae fy ngobaith gwell,
A chael pleser yn yr anial,
I edrych ar y gwledydd pell.

3 Dysg fi gerdded trwy'r afonydd,
Ac na'm hofner gan y llif,
Na bwy'n ildio gyda'r tònau,
Temtasiynau fwy na rhif;
Cadw 'ngolwg ar y bryniau,
Uchel hardd tu draw i'r dw'r,
Cadw 'ngafael yn yr afon,
Ar yr Iesu'r blaenaf ŵr.

4 Cân fy enaid mwy bydd lawen,
Minau ddof er tonau maith,
Cynddeirioca eu rhyw a'u pwysau,
Cyn bo hir i ben fy nhaith;
Mi gâf orphen dyrys anial,
Mi gaf lanio i mewn i'w plith,
A chaf fod heb ddim i'm blino,
Yn eu cwm'ni dedwydd byth.

W. W.

## HYMN VIII. (8. 7. D.)

*Golwg ar wlad well.*

1 DYN dyeithr ydwyf yma,
Draw mae'm genedigol wlad,
Draw i'r moroedd mawr tymhestlog,
Ac o fewn i'r Ganaan râd:
'Stormydd hir o demtasiynau,
A 'ngyrodd i fel hyn mor bell;
Tyred ddeheu-wynt pereiddiaf,
Chwyth fi i'r Baradwys well.

2 Ac er gwaetha' grym y tonau,
Sydd yn curo o bob tu,
D'of trwy'r 'storom, d'of trwy'r gwyntoedd
Ryw bryd i'r Baradwys fry;
Gair fy Nuw sy'n drech na'r moroedd,
Gair fy Nuw sy'n drech na'r don,
Ac mi anturiaf oll a feddwyf,
Bythoedd i'r addewid hon.

Ac ni fyddai'n hir cyn gorphen,
Ddim yn hir cyn lanio fry;
Pob gorchymyn, pob bygythiad,
Pob addewid sydd o'm tu:
Nid y dyfnder fydd fy nhrigfan,
Gwn y deuaf yn y man,
'Nol fy ngolchi gan y tonau,
Yn ddiangol iawn i'r lan.

4 'R wyf yn foddlon iawn i 'mado,
Trefna'r awr, a threfna'r fàn,
Ond yn ymchwydd yr Iorddonen,
Dal fy ysbryd llesg i'r làn;
Na'd fi soddi tan y tonau,
Pan bo angeu yn fawr ei rym,
'Mafael ynof yn dy freichiau,
Nad i'm henaid ofni dim.

W. W.

## HYMN IX. (8. 7. D.)

*Dianc am dy einioes.*

1 Y MAE'R oriau yn fy ngalw,
'N ddyfal beunydd i bar'tôi,
Tân sy'n dod ar ddinas dystryw,
Tua Soar i mi ffoi;
Arglwydd 'mafael ynwi'n fuan,
Onidê ni ddeuaf byth:
Tra b'o'r tân yn llosgi Sodom,
Yn y bryniau gwna fy nyth.

2 Dianc wnes i maes o Sodom,
Ar y gwastad 'rwyf yn byw,
Mae fy nghefn i ar Gomorra,
Fy wyneb tua gwlad fy NUW;
Fynu i'r bryniau'r wyf am ddianc,
Maes o sawr y mwg a'r tân;
Rho dy law Dywysog bywyd,
Tyn fy enaid yn y blaen.

3 Nerth os câf mi frysiaf mwyach,
Fynu tua'm gwlad fy hun,
Lle mae fy NUW yn gwisgo'n gyson,
Mewn gogoniant natur dyn:
Na enwer i mi gartref bellach,
Fangre arall ond y Ne',
Neb yn Dad, na neb yn Brïod,
Neb yn Arglwydd ond efe.

4 Yno boed fy mwyd a'm diod,
Tan ganghenau gwych y pren,
Sydd a'i wreiddyn ar y ddaear,
Ei frigau yn y nefoedd wen:
Dyn a'r DUWDOD ynddo'n trigo,
Ffrwythau arno'n tyfu'n llawn,
Cysgod tano i'r ffyddloniaid,
O foreuddydd hyd brydnawn.

W. W.

## HYMN X. (8. 7. D.)

*Gwaredigaeth trwy Grist.*

1 IESU llawnder mawr y nefoedd,
Gwrando lef un eiddil gwàn,
Sydd yn gorwedd wrth dy orsedd,
Ac yn codi ei lef i'r làn:
Mae 'ngelynion heb rifedi,
Yn fy nghuro o bob tu;
Ac nid oes a all fy achub,
Is y nefoedd ond tydi.

2 Yn dy glwyfau y mae bywyd,
Tyllau'r hoelion yw fy nyth,
'D ofna'i fyd, na chnawd, na phechod,
Nac euogrwydd yno byth:
Gwaed fy Mhrïod wedi ei golli,
Archoll fawr y wayw-ffon,
Yw fy nghraig a'm dinas noddfa,
Sicr ar y ddaear hon.

3 Marchog Iesu yn llwyddiannus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun,
Ni all daear dy wrthsefyll,
'Chwaith nac uffern fawr ei hun:
Mae dy enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae dy arswyd trwy'r grëadigaeth,
Tyr'd am hyny maes o law.

4 Ac am hyny ti gai'r enw,
Ti gai'r fuddugoliaeth lawn,
Ti gai'r clôd, y nerth, a'r gallu,
A'r gogoniant fore a nawn;
Fe gaiff seintiau ac angylion,
A cherubiaid pur yn un,
Swnio maes i drag'wyddoldeb,
It' wneyd pabell gyda dyn.

W. W

## HYMN XI. (8. 7. D.)

*Erfyniad am sylwedd.*

1 COFIA f' enaid cyn it' dreulio,
D' oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn ehedeg ffwrdd oddi yma,
Pa un a ge'st y trysor drud;
Y'mha ardal bydd fy llety,
Fath pryd hyny fydd fy ngwedd,
P'un a'i llawen a'i cystuddiol,
Fyddaf y tu draw i'r bedd.

2 O gyfiawnder pur trag'wyddol,
O gyfiawnder maith didrai!
Rhaid i'm henaid noeth newynllyd,
Gael yn fuan dy fwynhau;
Rho dy wisg ddysgleirwen oleu,
Cuddia'm noethni hyd y llawr,
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos,
Byth o flaen dy orsedd fawr.

3 O anialwch maith o dd'rysni,
O afonydd mawr eu grym,
Pa faint o amser roddwyd i chwi,
Fod yn ddigalondid im'?
Derfydd t'w'llwch, derfydd galar,
Derfydd pechod o bob rhyw,
Nid yw'r wlad câf ynddi drigo,
Ddim ond presennoldeb Duw.

4 Duw yn unig sydd o'm hochr,
Ni thal dynion i mi ddim,
Llawer trymach ydyw 'meichai,
Nag yw'r cawri'r byd o rym;
IESU ddeil fy maich er cymaint,
IESU ei hunan laesa'm loes,
Eitha' llid y nef ac uffern,
Ddaliodd unwaith ar y groes.

W. W.

## HYMN XII. (8. 7. D.)

*Ymdrech y Cristion.*

1 CYFARWYDDA'M henaid Arglwydd,
Pan bwy'n teithio y'mlaen o hyd,
Llwybrau culion dyrys anhawdd,
Sydd i'w cerdded yn y byd;
Cnawd ac ysbryd sy'n rhyfela,
Weithiau cariad, weithiau câs,
Tòn ar dòn sydd yn gorchuddio,
Egwyddorion nefol râs.

2 Cul yw'r llwybr i mi gerdded,
Is fy llaw mae dyfnder mawr,
Ac 'rwy'n ofni yn fy nghalon,
Rhag i'm traed i lithro' i lawr:
Yn dy law y gallaf sefyll,
Yn dy law y dof i'r lan,
Yn dy law byth ni ddiffygiaf,
Er nad ydwyf fi ond gwan.

3 Am fy mod i yn y rhyfel,
Yn y rhyfel nos a dydd,
Dyna pa'm yr wy'n hiraethu,
Cymaint am gael cario'r dydd;
Maith rifedi fy ngelynion,
Wnaeth i'm ganu'n drist fel hyn,
A fy nghwympo'r hyd y creigydd,
Wnaeth i'm frefu am Sïon fryn.

4 Nid oes enw y'mhlith angylion,
Y'mhlith dynion, ac ni chaed,
All fod i mi'n ddinas noddfa,
Yn unig ond Iachawdwr rhâd:
Mae'r afonydd 'rwy'n myn'd trwyddynt,
Ac mae'r tonau mawr mor grŷf,
Nad oes dim ond nerth trag'wyddol,
Ddeil fy enaid yn y llif.

W. W

## HYMN XIII. (8. 7. D.)

*Arweiniad i'r Ganaan nefol.*

1 TYR'D i fynu o'r anialwch,
Wedi aros yno'n hir,
Sypiau grawnwin mawrion addfed,
Sy'n dy aros yn y tir:
Brysia i ryfel, gwisg dy arfau,
Cymer galon, mentra 'mlaen,
Ffordd nis colli, mae'n dy arwain,
Gwmwl niwl, a cholofn dân.

2 Nid fy nef yw ar y ddaear,
Pe goreu man tan gwmpas haul;
Fy nef yw tawel bresennoldeb,
Wyneb siriol Adda'r ail:
Gwena arna'i Arglwydd grasol,
Gwaedda'i allan digon yw,
Yna 'nghanol cyfyngderau,
Byth yn llawen bydda'i byw.

3 Gwnes y dewis goreu wnaethpwyd,
Dewis Brenin nefoedd wen,
Yn Dad, yn Briod, ac yn Gyfaill,
Yn Frawd, yn Geidwad, ac yn Ben,
Cyfoeth mawr, didrai difesur,
Sydd 'nghadw i mi'n stôr,
A bendithion oll pe rhifid,
Megis tywod mân y môr.

4 Môr sydd ynot o fendithion,
Heb waelodion iddo'n bod,
Y mae'n llanw 'mlaen bob mynyd,
Nid oes diwedd ar dy glod;
Dy enw beunydd sy'n helaethu,
Beunydd yn ymdaenu 'maes;
Bydd telynau'n canu iddo,
Fel rhifedi gwellt y maes.

# HYMN XIV. (8. 7. D.)

*Grym cariad.*

1 MAE fy nghalon am ehedeg,
   Unwaith etto fynu fry,
I gael profi'r hen gymdeithas,
   Gynt fu rhyngof a thydi:
Mi grwydrais anial garw,
   Heb un gradd o oleu'r dydd;
Un wreichionen o dy gariad,
   Wna fy rhwymau oll yn rhydd.

2 O dystawa 'nghalon ynfyd,
   Na chais wrthddrych arall mwy;
Digon, mwy na digon ydyw,
   A ddyoddefodd farwol glwy:
Ffarwel ddaear a'i theganau,
   Nid y'ch ond y twyll i gyd,
Uwch yr wybren mae'r Blaguryn,
   Dâl roi arno'm serch a mryd.

3 Iesu hawddgar 'rwy'n dy ddewis,
   Nerth i ddilyn ôl dy droed,
Yna caiff fy enaid 'hedeg,
   I'r hapusrwydd uwch y rhod;
Ni raid teithio'r ddaear mwyach,
   Y'mhlith pryfed gwael y llawr,
Ond dysgleirio 'mhlith myrddiynau,
   'Gylch yr orsedd fel y wawr.

4 Ac er mwyn y gwaed a gollwyd,
   Cymysg ddw'r o'i ystlys E',
Tŷn bob cwmwl dudew tywyll,
   Ag sydd rhyngwy'n awr a'r ne';
Maddeu i mi feiau mawrion,
   Beiau lawer fwy na rhi',
Dim ond edrych ar Galfaria,
   Nid wrth edrych arnaf fi.

W. W.

## HYMN XV. (8. 7. D.)

*Golwg ar y nef.*

1 DACW'R ardal, dacw'r hafan,
Dacw'r nefol hyfryd wlad,
Dacw'r llwybr pur yn amlwg,
'R awrhon tua thŷ fy nhad;
Y mae hiraeth yn fy nghalon,
Am fod heddyw draw yn nhre',
Gyda'r myrdd sy'n canu'r anthem,
Anthem cariad iddo fe.

2 Bynag beth a welodd llygad,
Neu a deimlwyd îs y rhod,
Bynag beth a glywodd clustiau,
Neu beth bynag a all fod;
Holl wrthddrychau'r ddaear isod,
Mewn un fynyd darfu 'nghyd,
Er pan cês yr olwg leia',
Ar Iachawdwr mawr y byd.

3 Mae fy hwyliau heddyw yn chwarcu,
Yn llawen yn yr awel bur,
Ac 'rwy'n clywed swn caniadau,
Peraidd baradwysaidd dir;
Ffarwel haul, a lloer, a thrysor,
Ffarwel ddaear, ffarwel ddyn;
Nid oes dim o dan yr wybren,
Ag sy'n fawr ond Duw ei hun.

4 Cauwch lygaid, nac agorwch,
Ar un gwrthddrych îs y nef;
Craffa f'enaid olwg syml,
Ar ei ogoniant dwyfol E';
Mae ei hanfod, mae ei enw,
Mae ei berson sanctaidd pur,
Cuwch oddiar deganau natur,
Ag yw'r nefoedd uwch y tir.

W. W.

## HYMN XVI. (8. 7. D.)

*Gruddfan am ymwared.*

1 TYWYNED haul-wen ar fy enaid,
Blinais ganwaith gan y nos;
Nid yw 'mhleser, na 'nheganau,
Na'm heilunod, ond fy nghroes;
Mynwes Iesu yw'm hapusrwydd,
O na chawn i yno fod!
Fe roi cariad dwyfol perffaith,
Fy mhleserau tàn fy nhroed.

2 Yn y rhyfel mi arosa',
Yn y rhyfel mae fy lle,
Boed fy ngenau wrth y ddaear,
Boed fy llygaid tua'r ne';
Doed y goncwest pryd y delo,
Dysgwyl wrth fy Nuw a wnaf,
Nes o'r diwedd wel'd yn trengu,
Pechod ag oedd bron fy lladd.

3 Etto unwaith mi dderchafaf,
Un ochenaid tua'r nef,
Ac a wylaf ddagrau'n hidl,
Am ei bresennoldeb ef;
Pwy a ŵyr na wrendy clustiau,
'R Hwn a greodd dda'r a nen;
Ac na ddaw fy nymuniadau,
Trist hiraethlon oll i ben.

4 Mi feddylia' fod y wawr-ddydd,
Wen, ar godi maes o law;
Mi dybygaf trwy'r cymylau,
Gwelai oleu'r ochr draw;
Tyred wyntoedd mwyn y dëau,
Gwthiwch y cymylau o'u lle,
I'm gael gwel'd yn ei ogoniant,
Bresennoldeb Brenin Ne'.

W. W

## HYMN XVII. (8. 7. D.)

*Rhinweddau croes Crist.*

1 O NA chlywn yr udgorn arian,
Yn cyhoeddi'n eglur iawn,
Bellach i fy enaid llwythog,
Heddwch a maddeuant llawn:
O na ddeuai nerth i waered,
Fel llifeiriant mawr ei rym,
Fel na allai'm nwydau penaf,
Mwyach ei wrthsefyll ddim.

2 Mi edrychaf ar i fynu,
Deued t'wyllwch, deued nos;
Os daw heddwch im' o un lle,
Fe ddaw o haeddiant gwaed y groes;
Dyna'r man y gwnai fy nhrigfan,
Dyna'r man gobeithia'i mwy,
Nid oes iechyd byth i'm henaid,
Ond mewn dwyfol farwol glwy.

3 Nid oes ffynnon wedi ei hagor,
Ag all olchi'r euog hyn;
Ond y ffynnon a agorodd,
Cariad ar Galfaria fryn:
Gwaed all dalu'n llwyr am feiau,
Gwaed all agor porth y nef;
Ac nid oes foddlona'r nefoedd,
Ond ei haeddiant dwyfol Ef.

4 Dacw'r un sydd a thosturi,
Fe fu'n hongian ar y groes;
Fe fu'n gruddfan dan dywyllwch,
Tywyllwch dudew fel y nos:
Mîl o boenau wasgodd arno,
Etto darfu iddo eu dwyn,
Aeth i garchar gan yr angeu,
Ran o dridiau er fy mwyn.

W. W.

## HYMN XVIII. (8. 7. D.)

*Taith y Pererin.*

1 MAE fy Nuw yn fy ngheryddu,
  Ond fy ngharu y mae ef,
Ergyd ddoe, ac ergyd heddyw,
  I fy nghofio am y nef;
Nid oes awr o boen a dolur,
  Nid oes mynyd fach nad yw,
Fel ffynnonau'n tarddu allan,
  O drag'wyddol hedd fy Nuw.

2 Rhaid cael rhyw beth i fy nghofio,
  Onidê mi winga o hyd,
Mi gofleidia ddelw yn union,
  Pleser cnawd, neu bleser byd;
Rhaid fy nghosbi â chystuddiau,
  Onidê mi gysga hûn,
Ac mi hepia' mewn esmwythder,
  Pan fo angeu wrth fy nglun.

3 Ffarwel deiau, ffarwel diroedd,
  A'r eilunod pena' 'rioed;
Mi'ch tyngheda 'ngwydd y nefoedd,
  Na ddilynoch ôl fy nhroed;
Myn'd rwy'n llwm tua thir y bywyd,
  Ffon yn unig yn fy llaw,
Mi a mlaen dros yr Iorddonen,
  Mae 'nghyfeillion anwyl draw.

4 Mi gaf yfed yno gariad,
  Ffrwyth gwinwydden nef y nef,
Yr un cariad nefol hyfryd,
  Ag oedd yn ei gwpan ef,
Cariad wna fyrdd o fyrddiynau,
  Mewn rhyw gwlwm cryf yn un,
Ac â mlaen i drag'wyddoldeb,
  Yn ei Ysbryd ef ei hun.

W. W.

## HYMN XIX. (8. 7. D.)

*O flaen Pregeth.*

1 O LLEFARA addfwyn Iesu,
Mae dy eiriau fel y gwîn ;
Oll yn dwyn i mewn dangnefedd,
Ag sy o anfeidrol rîn :
Mae holl leisiau'r grëedigaeth,
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf tawel,
Yn dystewi a myn'd yn fûd.

2 Nis gall holl hyfrydwch natur,
A'i melusdra penaf maes,
Byth gymharu â lleferydd,
Hyfryd pur maddeuol râs ;
Gad im' glywed swn dy eiriau,
Awdurdodol eiriau'r nef,
Oddimewn yn creu hyfrydwch,
Nad oes mo'i gyffelyb ef.

3 Gwedd dy wyneb sy'n rhagori,
Ar drysorau'r India draw,
Mae awelon pur dy gariad,
Yn dwyn gwobr yn eu llaw ;
Perffaith bleser heb ddim diwedd,
Perffaith gysur heb ddim trai,
Yn ystormydd mawr cynddeiriog,
Yw yn unig dy fwynhau.

4 Achub achub, mae'n ddiweddar,
Nid oes geny' ond byr brydnawn,
Ac mae'r fyddin sydd i'm herbyn,
Yn cynnyddu'n danbaid iawn :
Danfon allan saethau'r nefoedd,
Cyfod fi, dod fi yn dy gol,
A thro'r llu sy'n erbyn Sïon,
Gan ryw ddychryn yn eu hol.

W. W

## HYMN XX. (8. 7. D:)

*Llefain am Waredigaeth.*

1 MAE rhyw foroedd o drugaredd,
  Arglwydd ynot ti dy hun;
Annherfynol a thrag'wyddol,
  Yw dy gariad at y dyn!
Mewn cyfyngder buost ffyddlon,
  Yno rho'ist dy nerth i maes,
Yn y dyfnder mawr 'rwyf finau,
  'Nawr yn llefain am dy ras.

2 Codi'm llygaid 'rwyf i fynu,
  Edrych beunydd tua'r nef,
Felly'r wyf yn treulio'r oriau,
  Dim ond dysgwyl wrtho ef;
Dagrau ac och'neidiau trymion,
  Yw fy mywyd yn y byd,
Nid oes dyben ar riddfanau,
  Heb gael gwel'd dy wyneb pryd.

3 Tyred Iesu i'r anialwch,
  At bechadur gwael ei lun,
Ganwaith dd'rysodd mewn rhyw rwydau,
  Rhwydau weithiodd ef ei hun:
Llosg fieri sydd o'm cwmpas,
  Rho fi sefyll ar fy nhraed,
Moes dy law ac arwain drosodd,
  F' enaid gwan i dir ei wlad.

4 Mae'r anialwch wedi mlino,
  Chwant sydd arnaf wel'd y tir,
Roddwyd i mi gan fy Arglwydd,
  Cadarn mewn addewid wir;
Gwlad o oleuni heb dywyllwch,
  Gwlad o gariad heb ddim trai,
Gwlad heb hawddfyd na phleserau;
  Ond yn unig ei f[illegible]u.

W. W.

## HYMN XXI. (8. 7. D.)

*Dymuniad y Cristion.*

1 BRYD ca'i wel'd y tir dymunol,
Hyfryd Baradwysaidd wlad;
Lle mae brodyr i mi filiwn,
Lle mae Mhriod a fy Nhad;
Lle cai orphwys o fy llafur,
A gwellhau fy nghlwyfau yn rhad,
A chael gwledd dragwyddol berffaith,
Ar ben fy nhaith yn nhŷ fy Nhad.

2 Manna nefol sy arnaf eisieu,
Dw'r rhedegog gloyw byw,
Sydd yn tarddu o tan riniog,
Teml sanctaidd bur fy Nuw;
Golchi'r aflan, cànu'r Ethiop,
Gwneyd yr euog brwnt yn lân,
Ti gai'r clod ryw fyrdd o oesoedd,
'Nol i'r ddaear fyn'd yn dân.

3. Y mae nefoedd yn ei gwmni,
Y mae bywyd yn ei wedd ;
Ag sy'n gwneuthur angeu'n gyfaill,
Ag sy'n peri concro'r bedd :
Rho'th gyfeillach Iesu addfwyn,
Dyna 'wy'n ei geisio i gyd ;
Ac mi fyddaf foddlon ddiddig,
I oll a gwrddwyf yn y byd.

4 Y mae meddwl am ei haeddiant,
Meddwl am ei gariad pur ;
Fel rhyw ffynnon o lawenydd,
Llawn o ddyfroedd gloyw clir ;
Fe ei hunan yw'm gogoniant,
Fe yw'm hymffrost a fy ngrym,
Enw pawb o dan yr wybren,
Ond ei hunan elo'n ddim.

W. W.

## HYMN XXII. (8. 7. D.)

*Y Nefoedd.*

1 RWY' fi'n dechreu teimlo eisoes,
Beraroglau'r gwledydd draw,
Gyda'r awel bur yn hedeg,
Diau fod y wlad gerllaw;
Dere'r tir dymunol hyfryd,
Dere'r ardal sydd heb drai,
Dy bleserau o bob rhywiau,
Gad i'm bellach eu mwynhau.

2 'Rwyf yn teimlo gwynt y dehau
Yn anadlu awel bur,
Ac yn ysgafn gario f' enaid,
Draw i fryniau'r Ganaan dir;
Aeth y gaua' garw heibio,
Darfu'r oer dymhestlog wynt,
Na ddoed mwy'r cawodydd duon
I fy mlino megys gynt.

3 Tyred f' enaid ar i fynu,
Allan o'r anialwch maith;
Hiraeth sy arnaf am gael gweled,
Gwledydd hyfryd pen fy nhaith:
Blino teithio'r creigydd geirwon,
Lle 'rwy'n wastad yn cael briw;
Ac fe'm clwyfid i farwolaeth,
On' ba'i cariad rhad fy Nuw.

4 Draw mi wela'r ardal hyfryd,
Lle mae'm trysor, lle mae 'mryd;
Lle mae'm henw i yn guddiedig,
Lle mae nghysur oll i gyd:
Draw fy mhriod, draw fy nghariad,
Draw fy anwylyd, draw fy nhad;
A fy nghartref nefol tawel,
Yn y baradwysaidd wlad.

W. W.

## HYMN XXIII. (8. 7. D.)

*Ffyniant y groes.*

1 PRIOD y drag'wyddol hanfod,
Welai'n hongian ar y pren,
Dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo,
'N barod grymu lawr ei ben,
Gwelaf etto fwy rhyfeddod,
Yn ei wyneb angeu loes;
Hedd yn rhedeg tros Galfaria,
Fel yr afon tan y groes.

2 Er mai bechan yw ei dechreu,
Mae'n cynyddu byth i'r làn,
Cododd eisoes cuwch a'r fferau,
At y gwddf daw yn y màn:
Cod nes ffaelu'n lân a'i rhydio,
Yna lleinw'r ddaear gron;
Llawn o bysgod mawr a bychain,
'Fengyl heddwch ydyw hon.

3 Iesu ti wyt ffynnon bywyd,
Bywyd dedwydd i barhau,
Pob cysuron îs y nefoedd,
Ynot ti dy hun y mae;
Nis gall croes, na gwae, na chystudd,
Wneuthur niwed iddynt hwy,
Gafodd nerth i wneyd eu noddfa,
Yn dy ddwyfol farwol glwy'.

4 Yn dy haeddiant 'rwyf yn gyfiawn,
Yn d'oleuni gwelai'n glir;
Yn dy wisgoedd dwyfol dysglaer,
Byddai'n ogoneddus bur;
Yn dy iachawdwriaeth gyflawn,
Er mòr waned wyf yn awr,
Ceir fy ngweled ryw ddiwrnod,
Yn dysgleirio fel y wawr.

W. W.

## HYMN XXIV. (8. 7. D.)

*Gorfoledd y Nef.*

1 MINAU bryfyn gwael o'r ddaear,
'Rof fy llais yn mhlith y llu,
Saint, Cerubiaid, ac Angylion,
A'r Seraphiaid bywiog fry!
O na chawn i ymgymysgu,
A Sêr y boreu mewn un dôn,
Rhown fy llais i mewn i'r anthem,
Am ddyoddefaint addfwyn Oen.

2 Mi gâf glywed cydsain hyfryd,
Digrëedig TRI yn UN,
Yn cyhoeddi heddwch nefol,
Perffaith wrthyf fi fy hun;
Saint, Seraphiaid, ac Angylion,
Mewn rhyw gydsain bena' erioed
Gyda mi yn seinio'r Anthem,
O anfeidrol ddwyfol glôd.

3 Yno caf fi ddechreu hanes,
Hanes o lawenydd pur,
Byth ni chlywir diwedd arno,
Yn y paradwysaidd dir;
Bob mynydyn bydd yn dechreu,
Swnio maes heb dewi a sôn,
Ddoniau maith anfeidrol hyfryd,
Croeshoeliedig addfwyn Oen.

4 Yno llenwir fy nymuniad,
Er ei faint ac er ei gri,
Fy holl wagter wneir i fynu,
Gyda'r Duwdod, UN yn DRI;
Mi gaf yfed o ffynnonau,
Pleser ag sy'n dyfrhau,
A datguddiad pur o fywyd,
A llawenydd i barhau.

W. W

## HYMN XXV. (8. 7. D.)

*Yr Enaid ofnog.*

1 OFNI'R wyf nas ce's faddeuant,
Ac nas caf faddeuant mwy,
Ofni'n fynych na che's olwg,
Etto ar dy farwol glwy';
Ofni bod fy meiau'n taro,
Yn erbyn iachawdwriaeth râd,
Ac na chaiff fy enaid egwan,
Byth ei olchi yn y gwaed.

2 Gweled ereill yn trafeilio,
Fynu fry i ben y bryn,
Mi'n trybaeddu yn y pechod,
Pechod acw'r pechod hyn;
Gwneyd fy hunan heddyw'n euog,
Heno'n ceisio difarhau,
Ofni marw sy'n rheoli,
Etto'n ffaelu ufuddhau.

3 Annyoddefol ydyw meddwl,
Marw, heb im' wybod p'un,
A bod dy gyfiawnder perffaith,
Wrth fy enaid bach y'nglyn;
Dyna'r awr wyf fi'n ei hofni,
Dyna'r awr yn gyfyng sydd,
Rho i'm nerthoedd y pryd hyny,
Nes bo im' ddïengu'n rhydd.

4 Tyred yr awelon hyfryd,
Tyred dros y bryniau pell,
Tan eich hadain dawel rasol,
Dygwch y newyddion gwell;
Dygwch newydd at fy enaid,
Fy enw inau yno gaed,
Dedwydd enw'n argraffedig,
Yn yr iachawdwriaeth râd.

W. W.

## HYMN XXVI. (8. 7. D.)

***Pen Calfaria.***

1 DEUED pechaduriaid truain,
Yn finteioedd mawr y'nghyd,
Deued 'nysoedd pell y moroedd,
I gael gwel'd dy wynebpryd;
Cloffion, deillion, gwywedigion,
O bob enwau, o bob gradd,
I Galfaria un prydnawn-gwaith,
Wel'd yr Oen sydd wedi ei ladd.

2 Dacw'r nefoedd fawr ei hunan,
'Nawr yn dyodde' angeu loes,
Dacw obaith yr holl ddaear,
Heddyw yn hongian ar y groes,
Dacw noddfa pechaduriaid,
Dacw'r meddyg, dacw'r fàn,
Caf fi wella'r holl archollion,
Dyfnion sy ar fy enaid gwan.

3 Dacw'r unig feddyginiaeth,
Gadarn i druenus ddyn,
Mae pob gobaith wedi darfod,
Maes o hono ef ei hun;
Trwm a llwythog yw fy meichiau,
Poen euogrwydd sydd yn fawr,
Nid oes fàn ond pen Calfaria,
Galla'i ddodi mhen i lawr.

4 Mi nis gallaf wneyd fy hunan,
Ddyddiau meithion ronyn gwell,
Pob egwyddor yn fy enaid,
Beunydd sydd am fyn'd yn mhell;
Nid oes dim ond i ti faddeu,
Gwneyd yr Ethiop du yn wyn,
Wna i'm henaid gofio'th angeu,
Poenus, ar Galfaria fryn.

W. W.

## HYMN XXVII. (8. 7. D.)

*Cariad a dyoddefaint Crist.*

1 FE ro'w'd arno bwys euogrwydd,
Pwys nas gall ei ddàl mo ddyn,
Cosb pechodau myrdd o ddynion,
Heb un pechod ynddo ei hun;
Do, fe'i gwisgwyd â chystuddiau,
Ffrwyth fy meiau fawr a mân,
Fel cawn inau wael bechadur,
Aflan, euog, fod yn lân.

2 Ac yn nyfnder grym ei boenau,
Tan ergydion angeu loes;
Fe weddiodd am faddeuant,
Maddeu i mi ar y groes:
Fe gofleidiodd f'enaid aflan,
Rhwng y ddaear fawr a'r nèn,
Do, fe ngharodd, ac fe nghofiodd,
Tan yr hoelion ar y prèn.

3 O anfeidrol berffaith gariad!
Cariad nas gall dawn na gras,
Dynion, na'r angylion penaf,
Byth yn hollol ddodi maes;
Cariad fydd yn sylfaen gadarn,
O bob Anthem yn y nef,
Seintiau ac Angylion draphlith,
Canant am ei gariad ef.

4 Ac ni fydd mo drag'wyddoldeb
Ddim yn ormod er ei hŷd,
I ddatguddio hen ddyfnderoedd,
Cariad Iesu maes i gyd;
Holl rinweddau maith ei glwyfau,
Poenau'r hoelion meinion llym,
A wna oesoedd i fyn'd heibio,
Etto heb eu gweled ddim.

W. W.

## HYMN XXVIII. (8. 7. D.)

*Agoriad Addoldy.*

1 GOSOD babell y'ngwlad Gosen,
Dere Arglwydd yno dy hun;
Gostwng o'r uchelder goleu,
Gwna dy drigfa gyda dyn:
Trig yn Sïon, aros yno,
Lle mae'r llwythau yn dod y'nghyd;
Byth na 'mad oddiwrth dy bobl,
Nes yn ulw yr elo'r byd.

W. W.

## HYMN XXIX. (8. 7. D.)

*Yr Ysgol Sabbathol.*

1 PA'M y caiff bwystfilod rheibus,
Dori'r egin mân i lawr;
Pa'm caiff blodau peraidd ieuainc,
Fethu gan y sychder mawr;
Dere a'r cafodydd hyfryd,
Sy'n cynnyddu'r egin grawn,
Cafod hyfryd yn y bore,
Ac un arall y prydnawn. W. W.

2 Dowch blant bychain braf yw'ch gweled,
Ar y drydedd awr o'r dydd;
Dowch ieuenctid ar y chweched,
Galwad i chwi i'r winllan sydd;
Dowch rai ereill ar y nawfed,
Cyn yr elo hi'n brydnawn;
Dowch hen bobl cyn ddeuddegfed,
Hi aeth yn ddiweddar iawn.

## HYMN XXX. (8. 7. D.)

*Buddugoliaeth y groes.*

1 CAPTEN mawr ein hiachawdwriaeth,
Welaf yn y frwydr hon;
Holl elynion ei ddyweddi,
*Yn gorfod plygu ger ei fron:*

Plant afradlon sy'n dod adre',
  A fu 'mhell o dir eu gwlad;
Y rhai fu'n fudion sy'n clodfori,
  Duw, am iachawdwriaeth rad.

2 Wele'r IESU pen rhyfelwr,
  Yn dod i'r làn o Edom wlad;
Ei wisg yn goch, ei fraich yn rymus,
  A'r ddraig yn glwyfus, dan ei draed;
Am yr hyfryd fuddugoliaeth,
  Mi gana' ronyn ar y llawr,
Hyd nes delo'r hyfryd fore,
  Ca'i ganu'n nhragwyddoldeb mawr.
M. R.

3 Draw ar gopa bryn Golgotha,
  Bu'r ymladdfa fwya 'rioed;
R 'Oen heb gleddau na grym arfau,
  'N sathru'r dreigiau tàn ei droed:
Ef mewn lludded mawr a syched,
  Yn gorchfygu uffern lu;
Etto ffynnon yn ei galon,
  I olchi'n wyn yr Ethiop du. ANHYSBYS.

4 Pan bo Sinai i gyd yn mygu,
  A sain yr udcorn uchaf radd;
Câf fyn'd i wledda dros y terfyn,
  Y'ngrym yr aberth heb fy lladd;
Mae ynddo yn trigo bob cyflawnder,
  Llon'd gwagle colledigaeth dyn:
Yn yr adwy rhwng y ddwyblaid,
  Gwnaeth gymmod trwy offrymu ei hun.
A. G.

## HYMN XXXI. (8. 7. D.)

*Crist yn bob peth.*

1 WYNEB siriol fy anwylyd,
  Yw fy mywyd yn y byd;
Ffarwel bellach bob eilunod,
  Iesu Mhriod aeth a 'mryd:

Brawd mewn myrdd o gyfyngderau,
Ffrind mewn môr o ofid yw ;
Ni chais f' enaid archolledig,
Neb yn feddyg ond fy Nuw.

2 'Rwy'n teimlo f'enaid 'nawr yn caru,
'R Oen ogwyddodd droswy ei ben ;
Dywedodd Iesu mawr Gorphenwyd,
Wrth dalu 'nyled ar y pren ;
'Rwy'n caru hardd lyth'renau ei enw,
Efe fu farw yn fy lle ;
'Does gyfaill yn y byd rwy' ynddo,
A bery'n ffyddlon fel efe.

3 Dyddiau blin fy mhererindod,
Sydd ar ddarfod yn ddi lai ;
Ffarwel yfed dyfroedd Mara,
I ddinas arall 'rwy'n neshau :
Teimlo f'enaid 'rwy'n ymadael
A'r creaduriaid ar y llawr ;
Fy hiraeth beunydd sy am fyn'd adref
I'r dedwydd dragwyddoldeb mawr.

M. R.

## HYMN XXXII. (8. 7. D.)

*Y cyfaill goreu yn angeu.*

1 YN y dyfroedd mawr a'r tònau,
Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond y ffyddlawn Archoffeiriad,
A fu farw ar y pren ;
Cyfaill yw yn afon angeu,
Ddeil fy mhen uwchlaw y dòn ;
Golwg arno wna i mi ganu,
Yn yr afon ddofn hon.

2 O anfeidrol rym y cariad!
Anorchfygol ydyw'r gras!
Digyfnewid yw'r addewid,
Pery byth o hyn i maes!
Hyn yw'm hangor ar y cefnfor,
Na chyfnewid meddwl Duw:
Fe addawodd na chawn farw,
Y'nghlwyfau'r Oen y cawn i fyw. D. W.

3 Cyfnewidiol yw fy mhrofiad,
Weithiau'n galed fel y graig;
Weithiau byddai'n gorfoleddu,
O gariad Iesu, had y wraig;
Weithiau'n dywyll, weithiau'n oleu,
Weithiau'n gaeth, ac weithiau'n rhydd
A chan fy mod i'n hollol felly,
Mae'n dda fod Iesu yr un bob dydd.

## HYMN XXXIII. (8. 7. D.)

*Arfaeth rasol Duw.*

1 DRAW mi welaf ryfeddodau,
Dyfnion bethau Tri yn Un;
Cyn bod Eden ardd na chodwm,
Grasol fwriad Duw at ddyn:
Ethol Meichai cyn bod dyled,
Trefnu Meddyg cyn bod clwy',
Caru gelyn heb un haeddiant—
Fe gaiff y clod tragwyddol mwy.

2 O dragwyddol iachawdwriaeth,
Yn yr arfaeth gafodd le,
I godi i fynu blant marwolaeth,
I etifeddiaeth bur y Ne':
Cariad boreu mor ddiddechreu,
Ag yw hanfod Tri yn Un,
Yn cofleidio meibion Adda,
*Yn yr Alpha mawr ei hun.*

Yn lle damnio pentewynion,
Haeddodd fod yn uffern dân;
Gwisg a gwledd sydd i'r afradlon,
Bellach noethion seiniwn gân,
Y marw yn derbyn bywyd yma,
Wele ffynnon i'w lanhâu,
Ffordd dragwyddol râd i faddeu,
Cyfoeth Meichai i'w ryddhau.

4 Dyma'r lle i farweiddio pechod,
Byw tan gysgod Crist a'i groes;
Yna derfydd caru sorod,
Cael profi cymmod angeu loes:
Rhyw gofleidio Crist, ac wylo,
Dyfal deithio tua'r wlad,
Lle mae cariad yn preswylio,
Hedd tragwyddol ei barhad.



## HYMN XXXIV. (8. 7. D.)

*Rhyfeddodau'r iachawdwriaeth.*

1 DYMA babell y cyfarfod,
Dyma gymmod yn y gwaed;
Dyma noddfa i lofruddion,
Dyma i gleifion feddyg rhad:
Dyma fan yn ymyl Duwdod,
I bechadur wneyd ei nyth;
A chyfiawnder pur y nefoedd,
Yn siriol wenu arno byth.

2 Ffordd a drefnwyd cyn bod amser,
I gael diangfa o ddrygau'r ddraig;
Mewn addewid gynt yn Eden,
Fe gyhoeddwyd Had y Wraig:
Ffordd i gyfiawnhau'r annuwiol,
Ffordd i godi'r marw yn fyw,
*Ffordd gyfreithlon* i droseddwr,
*I hedd a ffafr* gyda Duw.

3 Wele Sinai a Chalfaria,
Heddyw wedi dod y'nghyd;
Sylwedd mawr yr holl gysgodau,
Yn wynebu'r dwyfol lid;
Dacw'r cleddyf wedi deffro,
Biliau'r ddeddf yn dod y'mlaen;
Dacw aur y gwaredigion,
Wedi ei buro yn y tân.

4 O ddyfnderoedd iachawdwriaeth,
Dirgelwch mawr duwioldeb yw!
Duw y duwiau wedi ymddangos,
Y'nghnawd a natur dynolryw:
Dyma'r Person a ddyoddefodd,
Yn ein lle ddigofaint llawn,
Nes i gyfiawnder waeddi, Gollwng
Ef yn rhydd, mi gefais iawn.

5 Dyma Frawd a anwyd i ni,
Erbyn c'ledi a phob clwy;
Ffyddlon ydyw, llawn tosturi,
Fe haeddai gael ei foli'n fwy:
Rhyddhawr caethion, Meddyg cleifion,
Ffordd i Sïon union yw!
Ffynnon loyw, bywyd meirw,
Arch i gadw dyn, yw Duw. A. G.

## HYMN XXXV. (8. 7. D.)

*Rhinweddau angeu Crist.*

1 BYDD melys gofio y cyfammod,
Draw a wnaed gan Dri yn Un;
Tragwyddol syllu ar y person,
A gym'rodd arno natur dyn;
Wrth gyflawni yr ammodau,
Trist iawn hyd angeu ei enaid oedd;
Dyma gân y saith ugein-mil,
*Tu draw i'r* llen, mewn llawen floedd.

3 Fy enaid trist wrth gofio'r frwydr,
Yn llamu o lawenydd sydd:
Gwel'd y ddeddf yn anrhydeddus,
A'r pechadur brwnt yn rhydd:
Rhoi awdwr bywyd i farwolaeth,
A chladdu'r adgyfodiad mawr;
A dwyn i mewn dragwyddol heddwch,
Rhwng nef y nef a daear lawr.

3 Efe yw'r Iawn fu rhwng y lladron,
Dyoddefodd yno angeu loes;
Nerthodd freichiau ei ddihenyddwyr,
I'w hoelio yn greulon ar y groes:
Wrth dalu dyled pechaduriaid,
Ac anrhydeddu deddf ei Dad;
Cyfiawnder oedd yn hardd ddysgleirio,
A ninau yn rhydd trwy'r cymod rhad.

4 O f' enaid gwel y fàn gorweddodd,
Pen breninoedd, Awdwr hedd;
Y grëedigaeth ynddo yn symud,
Yntau'n farw yn y bedd;
Rhan a bywyd colledigion,
Rhyfeddod holl angylion nef:
Gwel'd Duw mewn cnawd, a'i gyd addoli,
Mae'r côr gan waeddi, Iddo Ef.

5 O ddedwydd ddydd tragwyddol orphwys,
Oddiwrth fy llafur yn fy rhan,
Y'nghanol môr o ryfeddodau,
Heb waelod, terfyn byth, na glàn:
Mynediad helaeth mwy i bara
O fewn trigfanau TRI yn UN;
Dw'r i nofio, heb fyn'd trwyddo,
Dyn yn Dduw, a Duw yn ddyn.

A. G.

## HYMN XXXVI. (8. 7. D.)

*Digon i Bechadur.*

1 PECHADUR aflan yw fy enw,
O ba rai y pena'n fyw;
*Rhyfeddaf byth* fe drefnwyd pabell.
*I'm gael yn* dawel gwrdd â Duw:

Yno y mae yn llon'd ei gyfraith,
  I'r troseddwr i gael gwledd ;
Duw a dyn yn gwaeddi Digon,
  Yn yr Iesu'r aberth hedd.

2 Anturiaf ato yn hyderus,
  Teyrnwïalen aur sydd yn ei law,
Estyniad hon sydd at bechadur,
  Ni wrthodir neb a ddaw:
Af y'mlaen dan waeddi, Pechais,
  Af a chwympaf wrth ei draed,
Am faddeuant, am fy ngolchi,
  Am fy nghànu yn y gwaed.

Nid eill moroedd mawrion llydain,
  Guddio pechod o unrhyw ;
Ac ni allodd dylif cadarn,
  Ei foddi'n wir mae'n awr yn fyw :
Ond gwaed yr Oen fu ar Galfaria,
  Haeddiant Iesu a'i farwol glwy',
Ydyw 'r môr lle caiff ei guddio,
  Byth na welir mo'no mwy.

Ffrydiau tawel byw rhedegog,
  O tan riniog ty fy Nuw,
Sydd yn llanw ac yn llifo,
  O fendithion o bob rhyw:
Dyfroedd gloyw fel y grisial,
  I olchi 'r euog, nerthu 'r gwan;
Ac a gàna 'r Ethiop dua',
  Fel yr eira yn y man.

Byw heb wres na haul yn taro,
  Byw heb ofni marw mwy;
Pob rhyw alar wedi darfod,
  Dim ond canu am farwol glwy';
Nofio yn afon bur y bywyd,
  Bythol heddwch sanctaidd Dri;
*Tan d'wniadau* digymylau
  *Gwerthfawr* angeu Calfari. A. G.

## HYMN XXXVII. (8. 7. D.)

*Yr eglwys yn yr anialwch.*

1 COFIA, Arglwydd, dy ddyweddi,
Llama ati fel yr hydd;
Ac na âd i'w holl elynion,
Arni yn hollol gael y dydd:
O datguddia y colofnau,
Wnaed i'w chynnal yn y nos,
Addewidion diammodol,
Duw, ar gyfrif gwaed y groes.

2 Mae bod yn fyw yn fawr ryfeddod,
Mewn ffwrneisiau sydd mor boeth;
Ond mwy rhyfeddod, wedi 'mhrofi,
Y do'f o'r cystudd fel aur coeth:
Amser cànu, diwrnod nithio,
Etto yn dawel heb ddim braw;
Y gwr sydd i mi yn ymguddfa,
Sydd a'r wyntyll yn ei law.

3 O am dynu o'r anialwch,
I fynu fel colofnau mwg,
Yn uniongyrchol at ei orsedd,
Nid oes yn ei wedd ef ŵg:
Alpha, Omega, tŷst ffyddlonaf,
Yw ein IOR,—a'i air yn un;
Dysgleirio y mae gogoniant TRINDOD,
Yn achubiaeth marwol ddyn.

4 Mae 'r dydd yn d'od i'r had breninol,
I gael mordwyo tu a'u gwlad;
O gaethiwed y priddfeini,
I deyrnasu gyd â'u Tad:
Eu ffydd yno a dry 'n olwg,
A'u gobaith eiddil yn fwynhad;
*Annherfynol* fydd yr anthem,
*Derchafu 'r* Oen a'i werthfawr waed.

5 Bererin llesg gan rym ystormydd,
Cyfod d'olwg, gwel y wawr,
Yr Oen yn gweini 'r swydd gyfryngol
Mewn gwisgoedd lleision hyd y llawr:
Gwregys euraidd o ffyddlondeb,
Wrth ei odre, clychau'n llawn;
Llwyr faddeuant i bechadur,
Ar gyfrif ei anfeidrol iawn. A. G.

## HYMN XXXVIII. (8. 7. D.)

*Anwylyd yr Eglwys.*

1 NID oes gwrthddrych ar y ddaear,
A leinw'm henaid gwerthfawr drud
Fy unig bleser a'm dyddanwch,
Yw hyfryd wedd dy wyneb-pryd:
Gwedd dy wyneb dyr y c'lymau,
A phob creadur ar y llawr,
A gwna enw câr a chyfaill
Yn ddim, er mwyn ei enw mawr.

2 Nis dichon byd a'i holl deganau,
Foddloni fy serchiadau'n awr;
A ennillwyd, a ëangwyd,
Yn nydd nerth fy Arglwydd mawr:
Efe nid llai, a all eu llenwi,
Er mai di-amgyffred yw;
O am syllu ar ei Berson
Rhyfeddod pob rhyfeddod yw.

3 Arogli'n beraidd mae fy *Nardus*,
Wrth wledda ar y cariad rhad,
Sel yn tanio 'n erbyn pechod,
Caru delw sancteiddhad:
Tynu ymaith law a llygad,
Y'nghyd âg uchel drem i lawr;
Neb yn deilwng o'i dderchafu,
*Ond fy Iesu,* Frenin mawr.

4 O am yfed yma beunydd,
O ffrydiau'r iachawdwriaeth fawr;
Nes fy nghwbl ddisychedu,
Am ddarfodedig bethau'r llawr,
Byw dan ddysgwyl am fy Arglwydd,
A bod pan ddelo yn effro iawn,
I agoryd iddo'n ebrwydd,
A mwynhau ei ddelw yn llawn.

5 Rhyfeddu a wnaf, a mawr ryfeddod,
Pan ddel i ben y ddedwydd awr;
Câf wel'd fy meddwl sy yma'n gwibio,
Ar ol teganau gwael y llawr;
Wedi ei sefydlu yn gyfan,
Ar wrthddrych mawr ei Berson ef,
A diysgog gyd-ymffurfio,
A phur a sanctaidd ddeddfau'r nef.

A. G.

## HYMN XXXIX. (8. 7. D.)

*Hiraeth y Cristion.*

1 LLWYBR cwbl groes i natur,
Yw fy llafur yn y byd;
Ei deithio wnaf er hyny'n dawel,
Ond i mi gael dy wyneb-pryd:
Codi'r groes, a'i chyfri'n goron,
Mewn gorthrymderau, llawen fyw;
Ffordd unionaf er mor arw,
I ddinas gyfanneddol yw.

2 Addurna'm henaid â dy ddelw,
Gwna fi'n ddychryn yn dy law,
I uffern, llygredd, a chnawdolrwydd,
Wrth edrych arnaf yma a thraw:
O am gymdeithasu â'r enw,
Ennaint tywalltedig yw,
Yn halltu'r byd, gan ber-arogli,
O hawddgar ddoniau Crist fy Nuw.

3 O rhwyga'r tew gymylau duon,
Sy 'n cuddio gwedd dy wyneb gwiw;
Nid oes bleser a'm dyddana,
Ond yn unig ti fy Nuw:
Môr didrai o hob trugaredd,
Yw 'th iachawdwriaeth fawr ei dawn,
A lanwodd, ac a lifodd allan,
Ar Galfaria un prydnawn.

4 Mae fy nghalon am ymadael,
A phob eilunod, fach a mawr;
Am fod arni 'n argraffedig,
Ddelw gwrthddrych uwch y llawr:
Anfeidrol deilwng i'w addoli,
Ei garu, a'i barchu yn y byd;
Bywyd myrdd o safn marwolaeth,
A gafwyd yn ei angeu drud. A. G.

## HYMN XL. (8. 7. D.)

*Concwest y Credadyn.*

1 OS rhaid wynebu'r afon donog,
Mae un i dori grym y lli';
Iesu f'Archoffeiriad ffyddlon,
Dyna ddigon byth i mi;
Yn ei waed caf waeddi concwest,
Ar angeu, uffern, byd, a'r bedd,
Tragwyddoldeb byth heb bechu,
Yn ogoneddus ar ei wedd.

2 Yn lle cario corph o lygredd,
Cyd-dreiddio â'r côr yn danbaid fry;
I ddiderfyn ryfeddodau,
Iachawdwriaeth Calfari;
Byw i wel'd yr anweledig,
Fu farw, ac sydd etto yn fyw;
Tragwyddol anwahanol undeb,
*A chymdeithas â fy Nuw.*

3 Yno caf dderchafu'r Person,
A osododd Duw yn Iawn;
Heb ddychymyg, llen na gorchudd,
A'm henaid ar ei ddelw yn llawn;
Y'nghymdeithas y dirgelwch,
Dadguddiedig yn ei glwy';
Addoli'r Mab i dragwyddoldeb,
Heb golli 'ngolwg arno mwy.

4 O am bara i uchel yfed,
O ffrydiau'r iachawdwriaeth fawr;
Nes fy hollol ddisychedu,
Am ddarfodedig bethau'r llawr;
Byw tan ddysgwyl am fy Arglwydd,
Bod pan ddel yn effro iawn:
I agoryd iddo yn ebrwydd,
A mwynhau ei ddelw'n llawn. A. G.

## HYMN XLI. (8. 7. D.)

*Golud Crist.*

1 O AM dreiddio i'r adnabyddiaeth,
O'r unig wir a bywiol Dduw;
I'r fath raddau a fyddo'n lladdfa,
I ddych'mygion o bob rhyw;
Credu y gair sy'n d'weyd am dano,
Am ei natur sanctaidd wiw;
Yn farwolaeth i bechadur,
Heb gael iawn i'w gadw'n fyw.

2 Mae Duw anfeidrol mewn gogoniant,
Er mai Duw y cariad yw;
Wrth ei gofio i mi'n ddychryn,
I mi'n ddolur, ac yn friw;
Ond yn mhabell y cyfarfod,
Mae'fe yno yn llawn o hedd:
Yn Dduw cymmodlon wedi eistedd,
*Heb ddim ond* heddwch yn ei wedd.

3 Yno mae fy mwyd a'm diod,
Fy noddfa a'm gorphwysfa wiw;
Fy meddyginiaeth a fy nhrysor,
Twr cadarn anfethedig yw;
Yno mae fy holl arfogaeth,
Y'ngwyneb fy ngelynion cas,
Mae 'mywyd yno yn guddiedig,
Pan bwy'n ymladd ar y maes.

4 Cael Duw yn Dad, a Thad yn noddfa,
Noddfa yn graig, a'r graig yn dŵr,
Mwy nis gallaf ei ddymuno,
Yn dd'ogelwch im' mewn tân a dwr,
O hono ef mae fy nigonedd,
Ac ynddo trwy fyddinoedd âf,
Hebddo eiddil gwan a dinerth,
Colli'r dydd yn wir a wnaf. A. G.

## HYMN XLII. (8. 7. D.)

*Priod Sion.*

1 PAN esgynodd 'r hwn ddisgynodd,
Wedi gorphen yma'r gwaith;
Pyrth oedd yn derchafu eu penau,
Dan orfoleddu yn eu hiaith;
Dorau'n agor, côr yn plygu,
I Dduw mewn cnawd yr ochr draw;
A'r Tad yn siriol a'i gwahoddai,
I eistedd ar ei ddeheu-law.

2 Digon mewn llifeiriant dyfroedd,
Digon yn y fflamau tân;
O am nerth i lynu wrtho,
A phara byth yn ddiwahan;
Ar dd'ryslyd lwybrau tîr Arabia,
Lle mae gelynion fwy na rhi',
*Rho' gym*deithas dyoddefiadau,
Gwerthfawr angeu Calfari.

3 Pan fo'm henaid 'n fwyaf gwresog,
Yn danllyd garu'n fwyaf byw,
Mae'r pryd hyny yn fyr o gyrhaedd,
Perffaith sanctaidd gyfraith Duw:
O am nerth i'w hanrhydeddu,
Trwy dderbyn iachawdwriaeth râd,
A'r cymmundeb mwyaf diddig,
Yn hyfryd felys yn y gwaed.

4 Mae hiraeth arnaf am ymadael,
Bob dydd ar y gwaedlyd faes;
Nid â'r arch nac Israel dirion,
Ond â'm hunan ymchwydd cas;
Cael dod yn hŷ at fwrdd y Brenin,
A'm gwahodd yno i eiste'n uwch,
A minau'n para'n wan ac eiddil,
A byth am garu yn y llwch.

5 O na chawn i dreulio 'nyddiau,
Yn fywyd o dderchafu'i waed;
Llechu'n dawel dan ei gysgod,
Byw a marw wrth ei draed:
Cario'r groes a phara'i chodi,
Am mai croes fy Mhriod yw;
Ymddifyru yn ei Berson,
A'i addoli ef fy Nuw. A. G.

## HYMN XLIII. (8. 7. D.)

*Hyder Pererin cystuddiol.*

1 DYFAIS fawr trag'wyddol gariad,
Ydyw'r iachawdwriaeth lawn;
Cyfammod hedd yw'r sylfaen gadarn,
'R hwn nis derfydd byth mo'i ddawn;
Dyma'r fan y gorphwys f'enaid,
Dyma'r fan y byddai fyw,
*Mewn tangnefedd* pur heddychol,
*'Mhob ryw 'stormydd* gyd a'm Duw.

2 Syfled iechyd, syfled bywyd.
Cnawd a chalon yn gytun;
Byth ni syfla ammod heddwch,
Hen gytundeb TRI yn UN;
Dianwadal yw'r addewid,
Cadarn byth yw cynghor Duw;
Cysur cryf sy'r neb a gredo,
Yn haeddiant Iesu i gael byw.

3 Bum yn wyneb pob gorchymyn,
Bum yn wyneb angeu glas;
Gwelais Iesu ar Galfaria,
Yn gwbl wedi cario'r maes;
Mewn cystuddiau 'rwyf yn dawel,
Y fuddugoliaeth sydd o'm tu;
Nid oes elyn wna im' niwed,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd fry.

4 Pethau chwerwon sydd yn felys,
A'r t'wyllwch sydd yn oleu clir;
Mae'm cystuddiau i mi'n fuddiol,
Ond darfyddant cyn bo hir;
Cyfammod hêdd, bereiddia'r cwbl,
Cyfammod hêdd a'm cwyd i'r làn
I gael gwel'd f'etifeddiaeth,
A'i meddiannu yn y man.

5 Fy natur egwan sydd yn soddi,
Wrth deimlo prawf o'th ddwyfol hêdd;
Ac yn boddi gan ryfeddod,
Wrth edrych 'chydig ar dy wedd;
O am gorph a hwnw'n rymus,
I oddef pwys gogoniant Duw;
Ac i'w foli byth heb dewi,
A chydag ef dragwyddol fyw.

T. C.

5 Ni ordeiniwyd fy serchiadau,
I gofleidio pethau'r byd;
Ond i garu'r Iesu tirion;
Ef sydd deilwng o fy mryd:
Ef sy'n derbyn moliant miloedd,
Yn y bydoedd mawr uwch ben,
Iesu, brenin y gogoniant,
Piau'r moliant byth. Amen.

## HYMN XLV. (8. 7. D.)

*Archoffeiriad mawr.*

1 ARCHOFFEIRIAD uwch na'r nefoedd,
Yw ein harchoffeiriad ni;
Er mor ddirmygiedig ydoedd,
Pan yn marw ar Galfari:
O ddyfnderoedd ei drallodion,
Esgyn wnaeth i nef y nef;
Priod a Gwaredwr Sïon,
A'i chyflawnder ydyw Ef.

2 Priod mawr, a Phen yr Eglwys,
Ydyw Iesu, Brenin nef;
Pob credadyn sy'n ymorphwys
Ar ei Iawn anfeidrol Ef:
Er ystormydd a llif-ddyfroedd,
Tra bo Iesu byw yn ben,
Dwg ei etholedig luoedd,
Adre'n iach i'r nefoedd wen. IAGO.

## HYMN XLVI. (8. 7. D.)

*Deisyfiad y credadyn.*

1 O NA byddai cariad Iesu,
Megys fflam angerddol gref,
Yn fy nghalon i'w chynhesu,
Fel y carwn inau Ef;
O na chawn i brofi nerthol
Weithrediadau'r Ysbryd Glân,
Fel y gallwn yn wastadol,
*Yn lle cwyno,* seinio cân!

2 Oer a marwaidd yw fy nghalon,
Gwàn a diffrwyth yw pob gras ;
O na chwythai yr awelon
Sydd yn gwywo llygredd cas ;
Dyred, Iesu bendigedig,
Bugail mawr y defaid oll,
Dychwel f'enaid gwrthgiliedig,—
O na âd im' fyn'd ar goll.

3 Gwna fy enaid fel cerbydau
Amminadib, buain iawn,
Gâd im' gael dy ymweliadau,
Llanw fi â'th nefol ddawn :
Yn y gwin-dŷ gâd im' wledda,
Dan dy faner, cariad yw ;
Megys Brenin mawr gorsedda
Yn fy nghalon, O fy Nuw !

4 Gwna fi'n ffrwythlawn yn fy hennaint,
Tirf ac iraidd gâd im' fod,
Dan y gwlith a'r nefol ennaint,
Gwna imi rodio er dy glod ;
O na âd im' ymgaledu,
Na diffrwytho yn dy dŷ,
Trin fi, Arglwydd, nes addfedu
F' enaid i'r ardaloedd fry. IAGO.

## HYMN XLVII. (8. 7. D.)

*Galwad yr Efengyl.*

1 BETH yw 'r udgorn glywai 'n seinio ?
Brenin Silo sydd yn gwa'dd :
Pwy sy'n cael eu galw ganddo ?
Pechaduriaid o bob gradd :
Adre, adre, blant afradlawn,
Gadewch gibau gweigion ffol ;
Clywaf lais y Brenin heddyw
'N para i alw ar eich hol.

## HYMN XLVIII. (8. 7. D.)

*Person Crist.*

1 IESU Grist un rhyfedd ydyw,
Perffaith Dduw a pherffaith ddyn,
Mae dwy natur cyflawn ynddo,
Etto'r person 'dyw ond un;
O ddirgelwch mawr duwioldeb,
Duw mewn undeb a gwir gnawd,
'Rhwn sydd yn preswylio'n uchel,
I rai isel sydd yn frawd. J. H.

2 Dyma'r Câr a'r Cyfaill goreu,
I feibion Adda fedd y nef;
Mae E 'n derbyn pechaduriaid,
Ymddiried, f' enaid, ynddo Ef:
Gwaed yr Oen ar ben Calfaria
A'm cadwodd i o'r fflamau tân;
Chwant sydd arnaf ganu moliant,
Fyth i'r fath Waredwr glân.

## HYMN XLIX. (8. 7. D.)

*Yr achos Cenhadol.*

1 DYMA'R dyddiau wedi gwawrio,
Clywir llais yr udgorn mawr;
Llais efengyl fwyn yn seinio,
Dros holl barthau daear lawr:
Y mae'r swper heddyw'n barod,
Allan aed cenhadon hedd,
A chymheller pawb i ddyfod;
Mae cyflawnder yn y wledd.

2 Rheded afon iachawdwriaeth
I ardaloedd pella'r byd;
Llifed dros bob anial diffaith,
I ffrwythloni'r rhai'n i gyd:
Trigfa dreigiau a'u gorweddfa,
Dont yn gyfle cyrs a brwyn;
A'r bwystfilod fu'n dyfetha,
*Gwelir hwythau fel yr wyn.*

3 Mae'r cynhauaf yn addfedu,
Yn mhob ardal îs y nef;
Ac fe gesglir llafur Iesu,
Gwerthfawr ffrwyth ei angeu ef:
Arglwydd, anfon weithwyr allan,
I bob cwr o'r ddaear faith;
Ti gei'r enw oll dy hunan,
Am bob llwyddiant yn y gwaith,

P. J.

## HYMN L. (8. 7. D.)

*Yr achos Cenhadol.*

1 FE ddyrchefir mynydd Sïon,
Bydd goruwch holl fryniau'r byd;
A'r cenedloedd o bob gwledydd,
A ddylifant ato i gyd:
Glŷn wrth odrau gwr o Iuddew,
Ddeg o ddynion o bob iaith,
Deuant oll i gyd addoli,
O bob cwr i'r ddaear faith.

2 Bydd breninoedd yn dadmaethod,
Llon i'r eglwys cyn bo hir;
Yr un wedd, daw breninesau,
Yn fammaethod iddi'n wir:
Pendefigion uchaf daear,
Ymostyngant i Dduw Ner;
Eu holl olud a gyssegrant
At wasanaeth Sïon bêr.

3 Fe ymâd cenfigen Ephraim:
Ni chaiff Juda elyn mwy:
Ni bydd neb i ddrygu Sïon,
Nac i roddi iddi glwy:
Fe fydd undeb a brawdgarwch
Yn mhob man yn llenwi'r byd;
Hedd a chariad a deyrnasa,
Dros y ddaear faith i gyd.

P. J.

## HYMN LI. (8. 7. D.)

*Galwad yr Iuddewon.*

1 DOED Iuddewon cyndyn bellach,
I hoffi llais efengyl hedd;
Boed i swn yr udgorn arian,
'Nawr agoryd pyrth y bedd:
Aed eu dyddiau diffrwyth heibio,
A'u caethiwed, doed i ben;
Hwythau'n credu'n llu ar unwaith,
Yn yr hwn fu ar y pren.

2 Doed y pedwar gwynt, anadlant
Ar y lladdedigion hyn:
O eithafoedd pella'r gwledydd,
Gwelant ben Calfaria fryn;
Ac wrth swn yr udgorn arian,
Pyrth a barau Babel fawr,
Fyddo'n agor, nes bo'r caethion,
O'u carcharau oll yn awr.

3 Impier hwynt i'w holewydden,
Profent o'u rhinweddau pêr;
Doed yr Iuddew mud i ganu,
Mwy am ras anfeidrol Ner:
Cariad heb gyfnewid etto,
A ffyddlondeb mawr didrai;
Gras fel moroedd o Galfaria,
Digon byth i gladdu bai.

4 Doed y dydd i gynnull Israel,
O'u gwrthgiliad pell yn ol,
Gyda galar ac wylofain,
Am eu hymadawiad ffol;
Lluoedd gwasgaredig Juda,
Doent o gyrau pella'r byd,
At y Siloh gwir dan gredu,
A derchafu'r angeu drud.

5 Wele'r faner wen i fynu,
Yn arwyddo fod rhyddhad—
Dyma'r dydd, doed yr Iuddewon
'Nol i Sïon i fwynhad
O fendithion y cyfammod,
Wnaed âg Abraham cyn hyn,
Ac a seliodd Crist â'i angeu,
Ië, ar Galfaria fryn. R. J.

## HYMN LII. (8. 7. 4.)

*Gweddi'r Cristion yn yr anialwch.*

1 ARGLWYDD arwain trwy 'r anialwch,
Fi bererin gwael ei wêdd,
Nad oes ynof nerth na bywyd,
Fel yn gorwedd yn y bêdd;
Hollalluog, Ydyw 'r un a'm cwyd i'r làn.

2 Rho'r golofn dân y nos i'm harwain,
A rho'r golofn niwl y dydd;
Dal fi pan bwy'n teithio'r manau,
Geirwon yn fy ffordd y sydd;
Rho i mi fanna, Fel na bwyf i lwfrhau.

3 Agor y ffynnonau melus,
Sydd yn tarddu o'r graig i maes,
'R hyd yr anial mawr canlyned,
Afon iachawdwriaeth gras;
Rho i mi hyny, Dim i mi ond dy fwynhau.

4 Mi ymddiriedaf yn dy allu,
Mawr yw'r gwaith a wne'st erioed;
Ti ge'st angeu, ti ge'st uffern,
Ti ge'st Satan tan dy droed;
Pen Calfaria, Nac aed hwnw byth o'm cof.

5 Pan bwy'n myned trwy'r Iorddonen,
Angeu creulon yn ei rym,
Ti 'est trwyddi gynt dy hunan,
Pa'm yr ofnaf bellach ddim?
Buddugoliaeth, Gwna i mi waeddi yn y llif.

W. W.

## HYMN LIII. (8. 7. 4.)

*Y filwriaeth ysbrydol.*

1 MI feddyliais yn y bore,
Buaswn amser maith cyn hyn,
Wedi maeddu fy mhechodau,
Ac yn canu ar Sion fryn;
Swn y rhyfel, Ydyw'r màn 'rwy etto'n byw.

2 Llawn euogrwydd, llawn o ddychryn,
Llawn o boen, yw'm henaid gwan;
Annghrediniaeth cryf yn haeru,
Byth na ddof oddiyma i'r làn;
Balm yn Gilead, Unig ag all wella nghlwyf.

3 Maith yw'r nos a mawr yw'r [illegible]
P'odd y galla'i threulio ma[illegible]
Arglwydd heb gael dy gwmpeini,
Nerth dy anorchfygol ras;
Gormod gofid, Hebot allu yma i fyw.

4 Yr wy'n ofni temtasiynau,
Nid wyf fi ond llesg erioed,
Mae'r un wana'n ddigon abl,
Fyn'd a'm henaid tan ei throed;
Gwaed yn llifo, Ar Galfaria a'm deil i'r làn.

5 Er bod arnaf ofnau filoedd,
Pan y delo'r drwg y'mlaen,
F'allai caf fi nerth i sefyll,
Fel y graig y'nghanol tân;
Gwaed yn llifo, Ar Galfaria a'm deil i'r làn.

6 Paid fy enaid gwan ag ofni,
  Nid rhyw ddrygau sy'n neshau,
Newydd da sy o dir y bywyd,
  Lle mae cariad yn parhau;
Gwaed yn llifo, Ar Galfaria a'm deil i'r lan.

W. W.

## HYMN LIV. (8. 7. 4.)

*Dymuniadau'r Cristion.*

1 DYSGWYL 'rwyf ar hyd yr hirnos,
  Dysgwyl am y bore ddydd,
Dysgwyl clywed [illegible]h yn agor,
  A chadwynau'n myn'd yn rhydd;
Dysgwyl goleu, Pur yn nh'wyllwch tewa'r nos.

2 Nid oes arnaf faich yn gorphwys,
  Dim ond eisieu dy fwynhau,
Nid oes arall dan y nefoedd,
  All yn hollol fy iachâu;
[illegible] gwm'ni, Cyn im' fyn'd i'r cefn-fôr glâs.

3 Tyn yr ofnau hên o farw,
  Sydd yn llechu tan fy mron:
Rho i mi heddwch, rho orfoledd,
  Tra f'wyf ar y ddaear hon;
Na therfysged, F'enaid gwan y'ngrym y dw'r.

4 Dyma'n gwbl fy neisyfiad,
  I mi gael bod yn dy gôl,
Er na theithiais etto nemawr,
  N'ad fi dynu hyny'n ol;
Gwna i mi gadw, 'Ngolwg tua'r hyfryd wlad.

5 Dal fy llygad, dal heb wyro,
  Dal ef ar dy addewid wir,
Dal fy nhraed heb gynnyg ysgog,
  Allan o dy gyfraith bur;
*Boed d'orch'mynion*, I mi'n gysur ac yn hedd.

6 Mi gâf yn y wlad 'rwy'n myned,
Ddiengu'n lân i maes o'm poen;
Gorphwys draw i derfyn gofid,
Gydâ'r addfwyn anwyl Oen;
Ni ddaw tristwch, Byth i mewn dros furiau'r nef.

## HYMN LV. (8. 7. 4.)

*Syllu ar Galfaria.*

1 'CHEISIAIS Arglwydd ddim ond hyny,
Dim ond treulio'm dyddiau maes,
I dy garu a'th ryfeddu,
Ac ymborthi ar dy ràs;
Dyna ddigon, 'Cheisiai 'nabod dim ond hyn.

2 Os agori im' dy fynwes,
I gael gwel'd y cariad llawn,
Lifodd allan fel y moroedd,
Ar Galfaria un prydnawn;
Ti gai 'r cwbl, Roddaist i mi yn fy rhan.

3 Cudd fy meiau rhag y werin,
Cudd hwy rhag cyfiawnder nê;
Cofia'r gwaed unwaith a gollwyd,
Ar y croesbren yn fy lle;
Yn y dyfnder, Bôdd y cyfan sŷ ynwy'n fai.

4 Dyma'r euog ofnus aflan,
Etto'n chwennych bod yn wyn,
Yn yr afon gymysg liwiau,
Dorodd allan ar y bryn;
Balm o Gilead, Anghydmarol yw dy waed.

5 Mi ddysgwyliaf doed a ddelo,.
Deued bore, deued nos,
Deued corwynt, deued tymhestl,
Nes cael teimlo gwaed y groes;
Gwel'd dy glwyfau, Yw'r dedwyddaf awr i mi.

W. W.

## HYMN LVI. (8. 7. 4.)

***Buddugoliaeth y groes.***

1 F'ENAID egwan paid ag ofni,
'Dyw dy elynion bob yr un,
Ond rhai eisoes wedi eu conc'ro,
Gan a wisgodd natur dyn;
Fe fyn weled, Pob rhyw elyn dan fy nhraed.

2 Gwaed dy groes sy'n codi fynu,
'R eiddil yn goncwerwr mawr,
Gwaed dy groes sydd yn darostwng,
Cawri cedyrn fyrdd i lawr;
Gâd i'm deimlo, Awel o Galfaria fryn.

3 Dechre canu, dechre canmol,
Y'mhen mil o filoedd maith,
Iesu, bydd y pererinion,
Hyfryd draw ar ben eu taith;
Ni cheir diwedd, Byth ar swn y delyn aur.

4 Yno caf fi dd'weyd yr hanes,
P'odd y dringodd eiddil gwan,
Trwy afonydd, a thros greigydd,
Dyrys anial serth i'r lan;
Iesu ei hunan, Gaiff y clôd trwy eitha'r nef.

5 Gwawrddydd, gwawrddydd, yw fy mywyd,
Gwel'd y wawrddydd 'rwyf yn iach,
Mi arosa, hyd nes delo,
Hi ddaw, hi ddaw 'mhen gronyn bach;
Dere, dere, I'm gael gwel'd fy ngwlad fy hun.

W. W.

## HYMN LVII. (8. 7. 4.)

***Rhagoroldeb gwir Grefydd.***

1 Y MAE gwedd dy wyneb grasol,
Yn rhagori llawer iawn,
Ar bob peth a welodd llygaid,
Ar hyd wyneb daear lawn;
Rhosyn Saron, Ti yw tegwch Nef y Nef.

2 'Rwy'n dy garu er nas gwelais,
Mae dy gariad fel y tân,
Nis gall nwydau cryfa' natur,
Sefyll mymryn bach o'th flaen;
Fflam angerddol, Ryw bryd ddifa'm

3 Aed y nos derfysglyd heibio,
Doed y bore cyn bo hir,
Pan y caffo'm henaid wledda,
Yn y Ganaan hyfryd bur;
Gyda myrddiwn, O'i rai anwyl ffyddl

4 O gwasgerwch dew gymylau,
I'r addewid rhoddwch le,
Nid i'r ddaear yma'm ganwyd,
Tragwyddoldeb yw fy lle;
'Nol tywyllwch, Côd o'r diwedd fore

5 Mi ddymunwn wel'd yn rhwygo,
Holl gymylau du y nef,
I bechadur weled gronyn,
O'i ogoniant hyfryd ef;
O datguddia, I mi ran o'th enw maw

## HYMN LVIII. (8. 7. 4.)

*Dyoddefaint Crist.*

1 O NA ba'i cystuddiau f'Arglwydd,
Yn fy nghalon i gael lle,
Pob rhyw loes a phob rhyw ddolur,
Pob rhyw fflangell gafodd ê;
Fel ba'i mhechod, Ildio'r dydd a myn'

2 O na byddai oriau mywyd,
Yn ymborthi ar oriau'th boen,
Fel y gallwyf fi gyd redeg,
A chystuddiau'r addfwyn Oen;
Fe gai mhechod, Felly'n fuan golli'r

3 Arnat Iesu boed fy meddwl,
Am dy gariad boed fy nghân,
Dyged swn dy ddyoddefiadau,
Fy serchiadau oll yn lân;
Mae dy gariad, Uwch y clywodd neb erioed.

4 Fe ddyoddefodd angeu creulon,
Poenus chwerwaf angeu'r groes ;
Ac fe gonc'rodd luoedd uffern,
Trwy ei ddwyfol farwol loes;
'N awr gorphenwyd, Iachawdwriaeth ddaeth i mi.

5 Iesu nid oes terfyn arnat,
Mae cyflawnder mawr dy ras,
Yn fwy helaeth, yn fwy dwfwn,
Ganwaith nag yw mhechod cas ;
Byth yn anwyl, Meibion dynion mwy a'th gâr.

W. W.

## HYMN LIX. (8. 7. 4.)

*Ymddibyniad yr enaid ar Dduw.*

1 WRTH dy orsedd 'rwyf yn gorwedd,
Dysgwyl am y ddedwydd awr,
Pan gaf glywed llais gorfoledd,
Pan gaf wel'd fy meiau i lawr;
Ti gai enw, 'R fuddugoliaeth it' dy hun.

2 Doed dy heddwch pryd y delo,
Mi ddysgwyliaf ddydd a nos,
Annherfynol ydyw haeddiant,
Haeddiant pur dy angeu loes;
Tyr'd yn fuan, Mae dy hedd yn fwy na'r byd.

3 Dysg y galon drist i chwerthin,
Dysg y mudan seinio cân,
Dysg yr ofnus gwan i gludo,
Uffern fawr i lawr o'i flaen;
Dod wylofain, Yn ganiadau Calfari.

4 Mîl o werin chwarddai'n loyw,
Wel'd y bore bwyf i lawr,
Gorfoleddant pe troi'r frwydr,
Gadarn gydag uffern fawr; [y dydd.
Dal fy mreichiau, Trymion heddyw yn ngwres

5 Safed haul uwchben Gibeon,
Safed lleuad yn y ne;
Safed ser a'r holl blanedau
Yn llonydd heddyw yn eu lle,
Cyn y collo, F'enaid gwan baradwys well.

W. W.

## HYMN LX. (8. 7. 4.)

*Ymnerthu yn yr Arglwydd.*

1 MAE gelynion i mi'n chwerw,
Cedyrn ynt a mawr eu grym,
Ond y rhai wy'n ofni fwya,
I ti fy Ior nid ydynt ddim; [awr.
Gair o'th enau, Gwympa fyrdd mewn mynyd

2 O dystewch gynddeiriog dònau,
Tra fwy'n gwrando llais y nef,
Swn mwy hoff a sain mwy hyfryd,
Glywir yn ei eiriau Ef;
F' enaid gwrando, Lais tangnefedd pur a hedd.

3 Duw, nid oes ond ti dy hunan,
Ddaw a'm henaid llesg i'r lan,
Sydd yn suddo mewn dyfnderoedd,
Dyfnion tywyll y'mhob man;
Gwna i mi gredu, Credu a cherdded ar y môr.

4 Draed lluddedig dewch i fynu,
Ymestynwch ddwylo 'mlaen,
Draw mae'r wobr, draw mae'r goron,
Draw mae Mhriod hawddgar glân;
Ffarwel bellach,'Chofia'i ddim ond pen fy nhaith.

5 Mae dy Ysbryd di yn fywyd,
Mae dy Ysbryd di yn dân,
Fe sy'n dwyn yr holl fforddolion,
Cywir sanctaidd pur y'mlaen;
Cyfarwyddwr, Pererinion arwain fi.

6 'Rwyf fi'n caru'r pererinion,
Ar y bryniau serth y sy,
Ar eu traed ac ar eu dwylo,
'N ceisio dringo fynu fry;
Ar fy neulin, Minau dd'of i ben y bryn.

W. W.

## HYMN LXI. (8. 7. 4.)

*Erfyn am ymwared.*

1 O SANCTEIDDIA f' enaid Arglwydd,
Yn mhob nwyd, ac yn mhob dawn,
Rho egwyddor bur y nefoedd,
Yn fy ysbryd llesg yn llawn,
N'ad fi grwydro, Draw nac yma o fy lle.

2 Wrth fy nghuro gan y gwyntoedd,
Wrth fy maeddu gan y dòn,
Wrth fy nryllio yn erbyn creigydd,
Blinais ar y ddaear hon;
O am ddyddiau, Pan ddarfyddo pechu yn lân.

3 Croesau geirwon sydd yn felys,
Pan yr elo hi'n brydnawn,
Dyfnder galar sydd yn esgor,
Ar lawenydd hyfryd iawn;
O am weled, Heno dawel foreu wawr.

4 Bywyd perffaith yw'th gymdeithas,
Diliau mel yw'th heddwch drud;
Gwerthfawrocach yw dy gariad,
Na holl berlau'r India i gyd;
Gwlad o gyfoeth, Yw yn unig dy fwynhau.

W. W.

## HYMN LXII. (8. 7. 4.)

*Anchwiliadwy olud gras.*

1 Y MAE rhinwedd gras y nefoedd,
O dragwyddol faith barhad,
Nid oes diwedd byth ar effaith,
Perffaith haeddiant dwyfol waed;
Ac er golchi, Nant heb lwydo, nant heb drai.

2 Minau dd'of i'r ffynnon loyw,
Darddodd allan ar y bryn,
Ac mi olcha'm henaid euog,
Ganwaith yn y dyfroedd hyn;
Myrdd o feiau, Daflai lawr i rym y dwr.

3 Iachawdwriaeth râd ei hunan,
Yw fy mhle o flaen y nef,
A ffarwel am dana'i fythol,
Oni chaf ei haeddiant ef;
Iesu ei hunan, Oll o flaen y fainc i mi.

4 Ffordd nid oes o waredigaeth,
Ond agorwyd ar y pren,
Llwybr pechaduriaid euog,
Mewn i byrth y nefoedd wen;
Dyma'r gefnffordd, Gwna i mi ei cherdded tra f'wyf byw.

5 O na chawn ddifyru nyddiau,
Llwythog dan dy ddwyfol groes!
A phob meddwl wedi ei glymu,
Wrth dy berson ddydd a nos;
Byw bob mynyd, Mewn tangnefedd pur a hedd.

W. W.

## HYMN LXIII. (8. 7. 4.)

*Hyder y credadyn yn Nuw.*

1 WRTH dy orsedd 'rwyf yn gorphwys,
Llefain arnat fore a nawn,
I'm gael clywed llawn ddystawrwydd,
O'm heuogrwydd tanllyd iawn;
A thangnefedd, Pur o mewn yn cadw ei le.

2 Mi ddysgwyliaf yno'n dawel,
Ac mi greda ryw bryd daw
Gwaredigaeth i garcharwr,
Bur oddiyno maes o law;
Doed pan ddelo, Mi ddysgwyliaf nes ei ddod.

3 Wrth dy orsedd di mae bywyd,
Wrth dy orsedd di mae grym,
Ac ni fethodd îs y nefoedd,
Ag a geisiodd genyt ddim;
Minau aflan, Fentraf at orseddfa hedd.

4 Tyr'd am hyny Iesu'n fuan,
Saf o blaid yr euog gwan,
Sy'n lluddedig gan gystuddiau,
Dyfnion, trymion, y'mhob man;
Rho ddyddanwch, Tra fwy'n teithio'r anial dir.

5 Yn y ffynnon hon agorwyd,
Yn dy ystlys ar y pren,
'Rwyf fi'n dod a'm gwisg yn aflan
I'w chànu yno'n hyfryd wen;
Mi dd'of allan, Fel yr eira ar y bryn.

6 Mae e'n maddeu beiau mawrion,
Mae e'n caru yn ddidrai,
A lle caro, mae ei gariad,
Yn dragwyddol yn parhau;
Nid oes terfyn, Ar ei gariad, ar ei ras.

W. W.

## HYMN LXIV. (8. 7. 4.)

*Crist yn gysgod i bechadur.*

1 RHO gydwybod wedi ei chànu,
'N beraidd yn y dwyfol waed;
Cnawd a natur wedi darfod,
Clwyfau wedi cael iachâd;
Minau'n aros, Yn fy ninas fore a nawn.

2 Dychwel i'm gysuron gloyw,
Fel y dyddiau goreu erioed,
Gad i'm gerdded fel yn fachgen,
Etto unwaith wrth dy droed;
A chael aros, Tan dy gysgod nos a dydd.

3 Dyma'r man dymunwn aros,
O fewn pabell bur fy Nuw,
Uwch terfysgoedd ysbryd euog,
A themtasiwn o bob rhyw;
Tan awelon, Peraidd hyfryd tir fy ngwlad.

4 Tan dy aden cedwir f' enaid,
Yno'n unig byddai byw,
Tan dy aden y gwaredir,
Fi o'r beiau gwaetha eu rhyw;
'R wyt ti'n gysgod, Rhag euogrwydd yn ei rym.

5 Mae deng myrddiwn o rinweddau,
Dwyfol yn ei enw pur,
Yn ei wedd mae tegwch rhagor,
Nag a welodd mor na thir;
Mo'i gyffelyb, 'Rioed ni welodd nef y nef.

W. W.

## HYMN LXV. (8. 7. 4.)

*Profiad y Cristion.*

1 CHWILIO am danat addfwyn Arglwydd,
Mae fy enaid yma a thraw,
Teimlo 'mod i'n berffaith ddedwydd,
Pan y byddoch di ger llaw;
Gwedd dy wyneb, Yw fy mywyd yn y byd.

2 Mae fy nwydau wedi mlino,
Ganwaith yn yr ardal hyn,
Lle b'wyf fi, maent hwythau yno,
B'wyf ar foroedd, b'wyf ar fryn;
O am deimlo, Rhyddid paradwysaidd dir.

3 Ti faddeuaist fyrdd o feiau,
I'r pechadur gwaetha ei ryw,
Arglwydd maddeu etto i minau,
Ar faddeuant 'rwyf yn byw:
Dy unig haeddiant, Yw ngorfoledd a fy ngrym.

4 Da yw'r groes, a da yw gwasgfa,
Da yw profedigaeth llym,
Oll i'm tynu o'r creadur,
O fy haeddiant, o fy ngrym;
Minau'r truan, Ffo'f dan aden Brenin Nef.

5 Dyben nefoedd sydd yn gywir,
Bynag beth yw dyben dyn;
Ac mi anturiaf fy holl fywyd,
Ar ei eiriau ef ei hun;
Doed pob cystudd, Ddygwydd dim ond da i mi.

W. W.

## HYMN LXVI. (8. 7. 4.)

*Dydd y farn.*

1 WELE'N dyfod ar y cwmwl,
Mawr yw'r enw sy iddo'n awr,
Ar ei fraich ac ar ei forddwyd,
Ysgrifenwyd ef i lawr;
Haleluia, Groeso, groeso addfwyn Oen.

2 Mil o filoedd, myrdd myrddiynau,
O gwmpeini hardd eu gwedd,
Welai draw yn codi fynu,
I'w gyfarfod ef o'r bedd;
Darfu galar, Dyma iachawdwriaeth lawn.

3 Dacw'r Brenin mawr ei hunan,
Yn adnabod pob yr un,
Dacw bawb yn tynu i fynu,
Yn union ato ef ei hun:
Cariad perffaith, Bellach gaiff deyrnasu byth.

4 Nid oes yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhad,
Poenau'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwaed;
Darfu ofni, Daeth llawenydd yn ei le.
W. W.

## HYMN LXVII. (8. 7. 4.)

*Trysorau'r groes.*

1 CYMER Iesu fi fel ydwyf,
Byth ni allaf fod yn well;
Dy allu di a'm gwna yn agos,
Fy 'wyllys i yw myn'd yn mhell;
Yn dy glwyfau, Byddai'n unig byth yn iach.

2 Iesu, Iesu, 'rwyt ti'n ddigon,
'Rwyt ti'n llawer mwy nâ'r byd,
Mwy trysorau sy'n dy enw,
Na thrysorau'r India'i gyd, [Duw.
Oll yn gyfan, Ddaeth i'm meddiant gyd a'm

3 Mwy yw d'eiriau ar y croesbren,
Geiriau gwerthfawr, geiriau drud,
Mwy yw'r sillaf leia' o honynt,
Na'm holl ddyledswyddau i gyd,
'Drychaf yno, Yno mae fy nerth a'm grym.

4 Cofia'th boenau ar Galfaria,
Cofia i ti gario'r groes,
Cofia gur yr hoelion llymion,
Cofia'th chwerw angeu loes; [mwyn.
Rho i mi heddwch, Rho i mi nefoedd er eu
W. W.

## HYMN LXVIII. (8. 7. 4.)

*Dyfod o'r anialwch.*

1 LLWCH wyf fi, o'r llwch y daethum,
Pryf yw mrawd, y ddae'r yw mam,
Etto'r wyf fi'n 'mofyn teyrnas,
Ddisigledig bur ddinam;
Pryf y ddaear, A ddaw hwnw mewn i'r nef!

2 Dof, mi ddof trwy'r anial garw,
Dof er gwaetha'r moroedd glâs;
Dof trwy'r cenllysg a'r tymhestloedd,
Sydd yn curo ar fy ngras;
Am mai cadarn, Ydyw'r hwn 'rwyf yn ei gôl.

3 Rhof ffarwel i'r holl gre'digaeth,
Ffarwel faesydd gwych eu rhyw,
Ffarwel deiau teg yr olwg;
Ffarwel ddynion goreu'n fyw;
Gwych gyfnewid, Duw ei hunan yn lle'r byd.

4 Fe ennynwyd ynwy' fflamau,
Tân mor hyfryd, tân mor gry',
Nid o'r ddaear daeth ei wreiddyn,
Cariad pur y nefoedd fry;
Awel beraidd, O fynyddau hyfryd ras.

5 Chwi angylion sydd yn edrych,
Ar ei wyneb gwridog gwyn,
Traethwch i mi p'odd dechreuodd,
Fflam mor berffaith bur a hyn;
Nef ei hunan, 'Nynodd ynwy' ei helfen bur.

W. W.

## HYMN LXIX. (8. 7. 4.)

*Daioni cystudd.*

1 F' ENAID egwan paid ag ofni,
Bod rhyw ddrygau mawr gerllaw,
Ofni gwyntoedd oer y gogledd,
Ofni gwynt y dwyrain draw;
Ofni'r cwbl, Ac heb achos ofni'n bod.

2 Newydd mawr, a newydd llawen,
Newydd gwir a newydd rhad,
Sy'n marchogaeth ar y cwmwl,
Goleu draw o dŷ fy nhad;
Fe faddeuwyd, Beiau rif y ser i mi.

3 Os daw gw'radwydd, os daw gofid,
Trwy ragluniaeth bur fy Nuw;
Hyny fyth ni ladd fy enaid,
Cadw nghalon wna fe'n friw,
Bydd ei fflangell, Yn y diwedd fel y gwin.

4 Os ar wely rhaid fy rhoddi,
Ryw bryd yn y dyddiau ddaw,
I gystuddiau nes bo'm brodyr,
Goreu oll yn cilio draw;
Mi ddof allan, Fel yr aur y seithfed tro.

5 Os rhaid i mi gael blynyddau,
O'r cystuddiau gwaetha eu rhyw,
Am fynydau bach o bleser,
Ge's i dori deddf fy Nuw;
Fe ddaw diwedd, Ar bob gofid yn y nef.

W. W.

## HYMN LXX. (8. 7. 4.)

*Rhyfeddodau'r groes.*

1 MI feddyliais cawn i f'Arglwydd,
Yn nghwmpeini mawrion byd,
Yn mhlith mwrddwyr, yn mhlith lladron,
Gwelais 'gynta'i wyneb pryd;
Ar y croesbren, Nid yn llys breninoedd byd.

2 Dacw lofrudd ar ei aswy,
Dacw leidr ar ei ddc,
Draw fe'i hoeliwyd yn y canol,
Frenin daear, frenin ne',
Mi apelia, At yr orsedd ar y groes.

3 Ni raid esgyn fry i'r nefoedd,
Y mae'r nefoedd ar y pren,
Fe ddaeth mynydd hen Galfaria,
'Nawr er's dyddiau'n un â'r nen;
Daeth Moria, 'Nawr yn ysgol sound i'r nef.

4 Dring fy enaid i'th orphwysfa,
Y mae'r nefoedd wrth dy glun,
'Rhwn a greodd haul a lleuad,
'Nawr a wisgodd natur dyn;
Edrych arno, Credu ydyw pen y daith.

5 Mae fy Mhriod, mae f' Anwylyd,
'Nawr yn dangos i mi wlad,
Nas gall dyfais temtasiynau,
Byth i syflyd dim o'm traed:
Mi af yno, Dyna'r màn caf ddedwydd fyw.
W. W.

## HYMN LXXI. (8. 7. 4.)

*Yr achos Cenadol.*

1 DUW teyrnasa ar y ddaear,
O'r gorllewin bell i'r de',
Cymer feddiant o'r ardaloedd,
Pella t'wylla, îs y ne';
Haul Cyfiawnder, Llanw'r ddaear fawr a'th râs.

2 Doed yr India fawr gyfoethog,
Heddyw tan dywyllwch sydd,
I gael gwel'd efengyl hyfryd,
Yn dwyn drosodd oleu'r dydd;
Nes bo heddwch, Yn teyrnasu o fôr i fôr.

3 Taened gweinidogion bywyd,
Iachawdwriaeth Iesu ar lêd;
Cluded moroedd addewidion,
Trosodd draw i'r rhai digrêd;
Aed Efengyl, Ar adenydd dwyfol wynt.

4 Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn,
Doed y rhai sydd ar y cefnfor,
I garu'r iachawdwriaeth hyn;
Nes bo adsain, Moliant yn amgylchu'r byd.

5 Pur ganiadau i Frenin Sïon,
Fyddo yn llawenydd llawn,
Draw o'r dwyrain lle mae'n codi,
I fachludiad haul brydnawn;
Fyth na sonier, Ond am degwch Brenin nef.

W. W.

## HYMN LXXII. (8. 7. 4.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 DROS y bryniau tywyll niwlog,
Yn dawel f'enaid edrych draw,
'R addewidion sydd i esgor,
Ar ryw ddyddiau braf gerllaw;
Nefol Jubil, Gad im' wel'd y bore wawr.

2 Doed yr Indiaid, doed barbariaid,
Doed y Negroes du yn llu,
I ryfeddu'r ddwyfol goncwest,
Unwaith gaed ar Galfari;
Swn y frwydr, Dreiddio i eitha conglau'r byd.

3 Ar ardaloedd maith o d'wyllwch,
Tywynu wnelo'r haulwen lân,
Ac ymlidied i'r gorllewin,
Y nos o'r dwyrain draw o'i blaen;
Iachawdwriaeth, Ti yn unig gario'r dydd.

4 Gwawria, gwawria, hyfryd fore,
Ar ddiderfyn fagddu fawr,
Nes bo bloedd yr euraidd udgorn,
Yn dadseinio'r nen a'r llawr;
Holl derfynau, Tir Immanuel i gyd.

5 Hed fel mellten, bur efengyl,
A gorchfyga oll yn lân;
Bydded i'th gyffiniau ëang,
Ymhelaethu fyth y'mlaen;
A'th lywodraeth, Dros y moroedd mawr i gyd.

J. W.

## HYMN. LXXIII. (8. 7. 4.)

*Rhagoroldeb Crist.*

1 WELE'N sefyll rhwng y myrtwydd,
Wrthddrych teilwng o fy mryd;
Er o'r braidd yr wy'n adnabod,
Ei fod uwchlaw gwrthddrychau'r byd:
Henffych fore, Caf ei weled heb un llen.

2 Rhosyn Saron yw ei enw,
Gwyn a gwridog hardd ei bryd;
Ar ddeng mil y mae'n rhagori,
O wrthddrychau pena'r byd:
Ffrynd pechadur, Dyma ein llywydd ar y mor.

3 Beth sydd i mi mwy a wnelwyf,
Ag eilunod gwael y llawr;
Tystio'r wyf nad yw eu cwmni,
Yw cymharu â'm Iesu mawr;
O am aros, Yn ei gariad ddyddiau f'oes.

A. G.

4 Gwelaf graig a'm deil mewn stormydd,
O gawodydd dwfr a thân;
Yn wyneb uffern a'i rhuthriadau,
Holl breswylwyr hon a gân:
Cadarn sylfaen, A osodwyd gan y Tâd.

J. H.

## HYMN LXXIV. (8. 7. 4.)

*Y Ceidwad mawr.*

1 DYMA Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai,
Dyma un sy'n caru maddeu,
I bechaduriaid mawr eu bai:
Diolch iddo, Byth am gofio llwch y llawr.

M. R.

## HYMN LXXV. (8. 7. 4.)

*O flaen Pregeth.*

1 ARGLWYDD grasol dyro gymhorth,
I gyhoeddi etto i maes,
Dyfnder calon dyn truenus,
Ac anfeidrol olud gras;
Fel bo dyfnder, Byth am ddyfnder yn cael sôn.
D. M.

2 Dyro'th Ysbryd i lefaru,
Ac i wrando d' eiriau pur;
Boed ei lewyrch nefol hyfryd,
A'i arddeliad ar y gwir:
O amlyga, Anorchfygol nerth dy râs.

3 D' air, fel gordd, a dỳr galonau
Creigaidd iawn yn chwylfriw mân;
D'air, fel tân, a wir oleua,
Ac a bura 'r brwnt yn lân:
Gâd in' deimlo, Dwyfol nerth efengyl hêdd.

## HYMN LXXVI. (8. 7. 4.)

*Dylanwadau yr Ysbryd.*

1 NERTHOEDD y trag'wyddol Ysbryd,
Yn haeddiannau'r dwyfol Iawn,
Wna i'r fynwes ddiffaith galed,
I ffrwythloni'n hyfryd lawn;
O rasusau, Pêr blanigion nefol wlad.

2 Creigiau tanllyd Salem waedlyd,
Rhai fu'n bloeddio ag un llef.
Am Dywysog mawr y bywyd,
"Ymaith! O croeshoelier ef!"
Gwnaeth i'r rhei'ny, Wylo edifeirwch pur.

3 Os disgyni, addfwyn Ysbryd,
I ryw fynwes fel rhai hyn,
A'i haddurno â phur ddelw,
Y gwr fu farw ar y bryn; [hyn.
Mawl a seinia, Trwy'r holl nefoedd fawr am

D. C.

## HYMN LXXVII. (8. 7. 4.)

*Yr achos Cenadol.*

1 AED newyddion iachawdwriaeth,
Ar adenydd dwyfol wawr,
I'r ddwy India ëang helaeth,
I eithafoedd daear lawr;
Brysied bore, Jubil ddydd efengyl gras.

2 Llifed ffrwd y dyfroedd bywiol,
Ddaeth tan riniog teml Iôn,
Afon bur o'r orsedd rasol,
Glan orseddfainc Duw a'r Oen;
Ei rhinweddau, Sy'n dwyn bywyd yn lle gwaed.

3 Ar ei glànau y mae'n tyfu,
Bywiol bren a'i ffrwythau'n llawn,
Ffrwyth a dail i wir ddiwallu,
Lluoedd a'u rhinweddol ddawn;
Dail er iechyd, I'r cenedloedd yw y rhai'n.

4 Aed effeithiol addewidion,
Dwyfol hyd eithafoedd byd;
Aent i gasglu prynedigion,
Iesu ato ef i gyd;
Ffrwyth o'i lafur, I'w ddiwallu byth, Amen.

T. J.

## HYMN LXXVIII. (8. 7. 4.)

*Y Cwmwl bychan*, 1 Bren. xviii. 41.

1 BETH yw'r cynhwrf yn ein dyddiau,
Am led-daenu geiriau Duw?

On'd yw hyn yn arwydd goleu,
Llawn o ras i ddynol ryw?
Gras y nefoedd, Sydd yn esgor ar ei ddawn.

2 Seiniwn gân, a llon ddiolchwn,
Cododd cwmwl bychan draw;
Mae'n ymchwyddo, mi dybygwn,
Y mae'n arwydd pwys o wlaw:
Trwst cawodydd, Dwys sydd yn addewid Duw.

3 Cwmwl bychan mewn cychwyniad,
Fel cledr llaw mewn lled a hyd,
O ddyfnderoedd môr mae'r tarddiad,
Daw'n llifeiriant dros y byd:
Mae'r addewid, Heddyw'n llwythog lawn o râs.

4 On'd oes ambell un yn erfyn,
Gan ymdrechu yn y gwaith?
Fel Elïas maent yn gofyn,
Gwlaw ar ol y sychder maith;
Na ddiffygient, Daw ar fyr y seithfed tro.

5 Mewn ymbiliau'n daer erfyniwn,
Tra parhâo dyddiau'n hoes;
Ac mewn llafur na ddiffygiwn,
Ffrwyth a ddaw o waed y groes:
Caiff cenedloedd, Brawf o rinwedd dwyfol hwn.

T. J.

## HYMN LXXIX. (8. 7. 4.)

*Nerthoedd cariad Crist.*

1 TRECH yw cariad nag afonydd,
Creulonach yn ei rwysg na'r bedd;
Fflam angerddol o'r uchelder,
Cariad y cyfammod hedd:
Anorchfygol, Yw ei gariad dwyfol ef.

2 Cariad Tad a welai'n rhoddi,
Cariad Meichai welai'n un,

'N ymaflyd yn y gwpan chwerw,
A'i hyfed tros y marwol ddyn:
F'enaid cofia, Cân a diolch byth am hyn.

3 Llamu wnaeth dros bob mynyddoedd,
Neidiodd tros y bryniau'n un;
Nid oedd dyfroedd all'sai oeri,
Ei gariad at y marwol ddyn:
O anfeidrol, Râs ei gariad dwyfol ef.

R. J.

## HYMN LXXX. (8. 7. 4.)

*Nos Sabbath.*

1 DUW'R bendithion yw dy enw,
Cyfranu'r wyt yn helaeth iawn,
'Nol cyfranu yn y boreu,
Cyfranu eilwaith y prydnawn;
Dyro fendith, Etto'n rhagor yma i lawr.

## HYMN LXXXI. (8. 7. 4.)

*Yr achos Cenadol.*

1 TAENED gwir Genadon Iesu,
Air y bywyd tros y byd;
Haul cyfiawnder fo'n tywynu,
Dros ei gonglau oll i gyd;
Gair yr Arglwydd, Yn ei lwydd a redo 'mlaen.

2 Sôn am Iesu aed i ddryllio,
Holl gyndynrwydd India fawr,
Sôn am angeu Crist ddymchwelo,
Gau grefyddau'r byd i lawr;
Neb ond Iesu, Fyddo Brenin dynolryw.

3 Hen Efengyl f'on prysuro,
Hilio'r byd yn gyflym iawn;
Coder gweithwyr i ddadseinio,
Angeu'r groes, a'i haeddiant llawn,
Trefn Cymodi, Elo'n gyhoedd dros y byd.

4 Pelledigion byd fo'n clywed,
Son am aberth Calfari;
Rhîn y ffynnon sy'n agored
I bechodau atgas ri;
Fel bo'r Iesu, A'i rinweddau oll yn oll.

R. J. Ll—ll.

## HYMN LXXXII. (8. 7. 6.)

*Galwad yr Efengyl.*

1 DEUWCH hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd,
'R ys yn galw pawb o'r enw,
I fwynhau tragwyddol wledd;
Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreu-ddydd hyd brydnawn.

2 Dewch y deillion, dewch y cloffion,
Dewch y gwywedigion rai,
Ymadewch o'r blaen ag oeddech,
Yn cael pleser i'w fwynhâu;
Chwi gewch win, nefol rin,
Yma yw yfed yn ddibrin.

3 Ceisiwch wisgoedd y briodas,
Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw,
Nid oes enw teilwng arnynt,
Ond cyfiawnder pur fy Nuw,
Lliain main, ydyw'r rhai'n,
Sydd yn cuddio pob rhyw 'staen.

4 Dyma'r wledd y cewch ddanteithion,
Yma cewch faddeuant rhad;
Yma cewch chwi brofi'r cariad,
Hedd yn nofio yn y gwaed;
Dewch yn awr, dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma 'lawr.

5 Yma cewch chwi wel'd y ffynnon,
Dwr a gwaed yn afon fawr,
O'r archollion wnaeth y bicell,
Ar Galfaria'n dod i lawr,
Cewch lanhad a iachâd,
Cewch eich beiau tan eich traed.

W. W.

## HYMN LXXXIII. (8. 7. 6.)

*Yr achos Cenadol.*

1 ARGLWYDD anfon dy leferydd,
Heddyw yn ei rwysg a'i rym,
Dangos fod dy lais yn gryfach
Nag all dyn wrthsefyll ddim;
Cerdd y'mlaen, nefol dân,
Cymer yma feddiant glân.

2 Dere Iesu i'r ardaloedd,
Lle teyrnasa tywyll nos,
Na'd fod rhan o'r byd heb wybod,
Am dy chwerw angeu loes,
Pa'm bydd poen, addfwyn Oen,
Am dano yn eitha'r byd heb son.

3 Mae'r efengyl wen yn curo,
Ac yn codi baner gras,
Mewn rhyw filoedd o ardaloedd,
Ar y mynydd, yn y maes;
Y mae llef, bur y nef,
Yn cyhoeddi ei haeddiant ef.

4 Aed i'r dwyrain a'r gorllewin,
Aed i eitha'r India draw,
I fod hoelion dur cadarnaf,
Yn ei draed ac yn ei law,
Doed y'nghyd, eitha'r byd,
I wel'd tegwch dy wynebpryd.

W. W.

## HYMN LXXXIV. (8. 7. 6.)

*Dyogelwch a dymuniad y Cristion.*

1 DACW gariad fel yr afon,
Dacw heddwch fel y llif,
Wedi'm mrodyr gael ei feddu,
Frodyr anwyl fwy na rhif;
Gyda hwy, caiff fod mwy,
F' enaid heb na briw na chlwy.

2 Mi gaf fod o flaen yr orsedd.
Mi gaf ganu'r anthem bur,
Pan ddarfyddo son am ddaear,
Son am foroedd, son am dir;
Dwyfol loes, angeu'r groes,
Fydd y canu ddydd a nos.

3 Minau bellach orfoleddaf,
Mae fy mywyd gwerthfawr iawn,
Wedi ei roddi y'nghudd i gadw,
Mewn Cyfryngwr perffaith llawn;
Abl yw, mae fe'n Dduw,
Ceidw f' enaid bach yn fyw.

4 Rho i mi yfed 'rwy'n sychedig,
Ddwr y ffynnon loyw lawn,
Darddodd allan o dy ystlys,
Ar Galfaria un prydnawn;
Gwaed fy Nuw, unig yw,
Ylch fy meiau dua'i rhyw. W. W.

## HYMN LXXXV. (8. 7. 6.)

*Y sylfaen safadwy.*

1 N'AD fi adeiladu'n ysgafn,
Ar un sylfaen îs y ne',
Na chymeryd craig i orphwys,
Tu yma i angeu yn ei le;
Ti fy Nuw, tra f'wy' byw,
Gaiff fod fy ngorphwysfa wiw.

2 Dyma'r maen sydd yn y gongl,
Dyma'r gareg werthfawr bur,
Gloddiwyd allan yn y bryniau,
Bryniau trag'wyddoldeb dîr:
Nid oes le, îs y ne,
I adeiladu ond efe.

3 Byth ni dderfydd canu am dano,
Byth ni dderfydd am ei glod;
Tra fo caru, pery canu,
Caru sydd heb ddechreu'n bod;
Nefoedd fry'n gyson sy,
Oll yn canu i'm Harglwydd cu.

4 Minau'r gwaela o bechaduriaid,
Yn y diwedd ro' fy nhroed,
Ar y graig sydd yn y moroedd,
Craig gadarna fu erioed!
Ceidw hon, ar bob tòn,
Ofnau' ffwrdd o dan fy mron. W. W.

## HYMN LXXXVI. (8. 7. 6.)

*Gweddi a hyder y Cristion.*

1 O GAD i mi'n fuan Arglwydd,
Glywed geiriau dystaw'r ne',
Rhag i'm redeg heb i'm wybod,
Ar ryw law, i maes o'm lle;
Yn dy law, heb ddim braw,
Cerddai'n union yma a thraw.

2 Af y'mlaen a doed a ddelo,
Tra bo hyfryd eiriau'r Nef,
Yn cyhoeddi iachawdwriaeth,
Lawn o'i sanctaidd enau ef;
Nîd yw grym, gelyn llym,
I'w anfeidrol ras ef ddim.

3 Dal fi'n gadarn hyd nes delo,
Amser hyfryd o ryddhau,

A chaël yn lle temtasiynau,
Yn dragywydd dy fwynhau;
Dyna'r pryd, gwyn fy myd,
Derfydd fy ngofidiau i gyd.

4 Angeu bellach gwna dy waetha,
Nid yw'th ddychryniadau ddim,
Mwy o hedd sy mhen Calfaria,
Nag sydd yn dy saethau o rym;
Mi af trwy, farwol glwy',
'N erbyn tònau mawrion mwy. W. W.

## HYMN LXXXVII. (8. 7. 6.)

*Dysgwyliad y Cristion.*

1 MI debygwn gwelai'r bore,
Haul yn codi oddi draw,
Iachawdwriaeth rad yn nesu,
Hedd a phardwn yn ei llaw,
Y mae'r wawr, hyfryd awr,
Bron a thori maes yn awr.

2 Minau ar y mur ddysgwyliaf,
Gwn nad oeda dim o'i droed,
Ni w'radwyddwyd îs y nefoedd,
Neb ddysgwyliodd wrtho erioed;
Pan ddel dydd, mi a'n rhydd,
O'r hyn yn fy mhoeni sydd.

3 O na welwn gopa'r bryniau,
Lle mae fy anwyl i yn byw,
'Rwyf yn caru'r gwynt sy'n 'hedeg,
Tros fy Nghanaan hyfryd wiw;
'Fedd y llawr, ddim yn awr,
Leinw le fy Arglwydd mawr.

4 Dere bellach, dere yn ebrwydd,
Ac anadla'r gwyntoedd cry'
Sydd yn nerthu'r pererinion,
I wynebu g'lynion hy;
Yn gwneud grym, satan lym,
Mewn mynydyn fyn'd yn ddim. W. W.

## HYMN LXXXVIII. (8. 7. 6.)

*Taith yr anialwch.*

1 AROS Iesu yn y rhyfel,
  F' enaid yn lluddedig sydd;
Ti biau drysu fy ngelynion,
  Ti biau'r enw, ti biau'r dydd:
Yn dy ddawn, unig cawn,
Fuddugoliaeth werthfawr iawn.

2 Minau gerddaf trwy'r byddinoedd,
  Ond it' gerdded o fy mlaen;
Mae dy gamrau'n tori'r tònau,
  Mae dy gamrau'n diffodd tân:
'N ôl dy droed, gwna i mi ddod,
Fy hyfrydwch mwya' erioed.

3 Mae dy air yn abl fy arwain,
  Trwy'r anialwch mawr yn mlaen,
Mae e'n golofn oleu eglur,
  Weithiau o niwl, ac weithiau o dân,
Mae'n ddible, ynddo fe,
Fwy na'r ddaear, fwy na'r ne'.

4 Da i mi fod yr addewid,
  Wedi ei rhoddi gan fy Nuw,
A bod gair o enau'r Brenin,
  Uwch gelynion o bob rhyw;
Ei 'ddewid ef, gadarn gref,
Arwain eiddil gwan i'r nef.

5 Tyred Arglwydd ar amseroedd,
  Mae fy enaid am fwynhau,
Pur dangnefedd heb dymhestloedd,
  Cariad hyfryd a didrai;
Gwledd o hedd, tu yma i'r bedd,
  Nad oes ond dy blant a'i medd. W. W.

## HYMN LXXXIX. (8. 7. 6.)

*Israel yn yr anialwch.*

1 RHWNG Pih'iroth a Baalsephon,
Tra f'wy' byw, mi gofia'r lle,
Mewn cyfyngder eitha' caled,
Gwaeddodd f' enaid tua'r ne';
Yn ddioed, dyma'n dod,
Waredigaeth fwya' r'ioed.

2 Aros ronyn (barwyd i mi,)
Ti gai weled cyn prydnawn,
Fyrdd yn soddi yn y dyfnfor,
O elynion creulon iawn;
Maes o law, gwynfyd ddaw,
Ti gai ganu'r ochr draw.

3 Dacw'r gelyn ebe f' Arglwydd,
Ganwaith faeddodd d' enaid gwan,
'Nawr yn methu gan y tònau,
Godi ei wyneb dig i'r làn;
Tyr'd y'mlaen, dechreu'th gân,
Dy holl elynion boddi wnan.'

4 Y mae dyfroedd Mara yn chwerw,
Fyth i'w hyfed ddydd a nos,
Iesu gwyddost ti beth ydyw,
Dwyn y bwysig boenus groes;
Rho i mi wir, gariad pur,
Ffrwythau peraidd Canaan dir.

5 O gwna i mi brofi sypiau,
Sypiau peraidd rawn y wlad,
Blas maddeuant pur a heddwch,
Gwleddoedd hyfryd tŷ fy Nhad,
Dyma hwy, perlau mwy,
Gloddiwyd yn ei farwol glwy. W. W.

## HYMN XC. (8. 7. 6.)

*Y Nefoedd.*

1 DACW'R hyfryd fan ca'i drigo,
Gwn ca'i drigo cyn bo hir,

Draw i'r bryniau oer tymhestlog,
Yn y sanctaidd hyfryd dir;
Gwelai'n awr, foreu wawr,
Glir, o dragwyddoldeb mawr.

2 O ddwyreindir gras mae'n t'wynu,
Lle mae teml fawr fy Nhad,
Lle mae'r arch, a lle mae'r manna,
Lle mae'r drugareddfa râd;
Un prydnawn, chwerw gawn,
Yno wed'yn, diengu wnawn.

3 Ni gawn yno wel'd a garwn,
Mewn gogoniant llawer mwy,
Nag y gwelsom E' ar y croesbren,
Tan ei farwol ddwyfol glwy';
Lluoedd mawr, sydd yn awr,
Yn ei garu bob yr awr.

4 Ni gawn wel'd a'i carodd yma,
Yn y man yr ochr draw,
Oll yn gwledda ar ei gariad,
T'lynau euraidd yn eu llaw;
Oll yn un, a chytun,
Yn moli'r Duwdod yn y dyn. W. W.

## HYMN XCI. (8. 7. 6.)

*Dyoddefaint Crist.*

1 DACW'R ffynnon wedi ei hagor,
A ddysgwyliwyd amryw oes;
'Nawr yn llifo fel y grisial,
Maes o'i ystlys ar y groes;
Dwr a gwaed, rydd iachâd,
I'r pechadur mwya' gaed.

2 Dacw'r hoelion geirwon llymion,
Wedi eu curo'n awr i dre,

Dacw'r bicell yn trywanu,
I mewn o dan ei ystlys E';
Dacw boen, addfwyn Oen,
Yn rhoi'r nefoedd 'dewi son.

3 'Nawr mi glywa'r gair "Gorphenwyd!"
Gorphen iachawdwriaeth wir!
Ac mi wela'r gwaed yn hidlo,
Tros ei ruddiau sanctaidd pur!
Wele'r nef, gadarn gref,
'Nawr yn t'wyllu wrth ei lef.

4 Dyma'r creigydd serth yn rhwygo,
Dyma'r meirw'n codi'n fyw;
Pwy greadur ag all ddyoddef,
Gruddfan chwerw f' Arglwydd Dduw;
Ochain mae, fe gadd wae,
Fel cawn inau fy rhyddhau.

5 Minau bellach a obeithaf,
Gobaith ag all estyn f' oes;
Gobaith wedi ei sylfaenu,
Ar och'neidiau pur y groes;
Dyma wlad, caf iachâd,
A chaf gyflawn wir ryddhad. W. W.

## HYMN XCII. (8. 7. 6.)

*Y Prynwr mawr.*

1 WELE cawsom y Messïah,
Cyfaill gwerthfawroca' 'rioed;
Darfu Moses a'r prophwydi,
Ddweyd am dano cyn ei ddod:
Iesu yw, Gwir Fab Duw,
Ffrynd a Phrynwr dynolryw.

2 Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle;
Swm ein dyled mawr fe'i talodd,
Ac a groesodd *filiau'r* ne;

Trwy ei waed, i ni caed,
Fythol heddwch a rhyddhad.

3 Dyma gyfaill haedda'i garu,
A'i glodfori'n fwy nag un:
Pryn'u bywyd, talu'n dyled,
A'n glanhau a'i waed ei Hun!
Frodyr dewch, llawenhewch,
Diolchwch iddo, byth na thewch. D. J.

## HYMN XCIII. (8. 7. 6.)

*Yr achos Cenadol.*

1 MAE llafur enaid y Messïah,
Yn ngwlad Caffraria yn cyffroi,
Trigolion gwylltion y mynyddoedd,
A'r dyffrynoedd yn deffroi;
Efengyl Duw, amlwg yw,
Sy'n codi'r meirw i fynu'n fyw.

2 Mae'r nos yn ffoi a'r dydd yn nesu,
A'r wawr yn dechreu ymledu y'mlaen,
Mae'n mysg paganiaid meirw y'morol,
Am Ben y gongol, fywiol faen:
Rhyw lwyddiant mawr, sy'n nesu yn awr,
Ar ol cymylau, wele wawr!

3 Daw'r Hottentots i ganmawl Iesu,
A ninau, Gymry, yn un gân;
Cydseiniwn am ei Iachawdwriaeth,
Ei Air, a'i Benarglwyddiaeth glân:
Daw pawb un llef, yn nheyrnas nef,
I uchel-floeddio, "Iddo Ef." E. J.

## HYMN XCIV. (8. 7. 6.)

*Rhinweddau aberth Crist.*

1 WELE'N chwysu'r dafnau gwaedlyd,
Ar noswaith rewlyd yn yr ardd;

Iesu siriol, Rosyn Saron,
O hwn bendithion pawb a dardd;
Ein bara byw, a'n haberth yw,
Dyoddefodd dân digofaint Duw.

2 Dod gyfiawnder y Messiah,
I ddod am danaf i'th ŵydd di;
A dod gyfiawnder egwyddorol;
Anian fywiol ynof fi:
O na bawn, lestr llawn,
O bob rhinweddol ddwyfol ddawn. E. J.

## HYMN XCV. (8. 7. 6.)

*Y Messïah mawr.*

1 MAWR oedd Iesu yn yr arfaeth,
Mawr yn y cyfammod hedd;
Mawr yn Methle'm a Chalfaria,
Mawr yn adgyfodi o'r bedd;
Mawr a fydd, Ef rhyw ddydd,
Pan ddel Sïon oll yn rhydd.

## HYMN XCVI. (8. 7. 6.)

*Caniadau mynydd Sïon.*

1 WELE'R Oen ar fynydd Sïon,
'Nawr a'i weision gydag ef;
Dwyn maent enw'u Tad a'u Harglwydd,
Dyma arwydd Brenin nef:
Wele'r llu, sanctaidd sy
'N teithio tua Salem fry.

2 Pedair mil a saith ugeinmil,
Dyma lu ofnadwy iawn,
Oll yn canu eu telynau,
O foreuddydd hyd brydnawn;
Uchel lef, gadarn gref,
Yn moliannu Brenin nef.

3 Newydd byth a fydd eu hanthem,
  Cân briodol iddynt hwy;
Ger bron nefoedd a'r orseddfainc,
  Canant am ei farwol glwy';
Yn un llef, groyw gref,
Oll dywedant, "Iddo Ef."

4 Ni ŵyr neb ond sydd brofiadol,
  Am yr anthem ddwyfol hon:
"Hedd, maddeuant glân, a chymmod,
  A thangnefedd dan fy mron;"
Dyma yw, rasol ryw,
Gân holl waredigion Duw. R. J.

## HYMN XCVII. (8. 8. 8.)

*Taith yr anialwch.*

1 MI deithiais ran o'r anial maith,
  'Dwy'n deall pellder pen fy nhaith,
Mewn gwledydd sychion dwfr nid oedd:
  Yn awr 'rwyn dysgwyl foreu a nawn,
  O'r nefoedd ddwfr a sypiau grawn,
Wna'm henaid egwan wrth ei fodd.

2 O'r graig y mae'n dylifo maes,
  Yn afon ddysglaer loyw las,
Sef craig yr oesoedd gadarn yw;
  A thyna'r man y gwnaf fy lle,
  Tan gysgod tawel furiau'r Ne',
Lle caf ddiddanwch tra f'wyf byw.

3 Rwy'n cofio gair fy Iesu mawr,
  Y doi'r Dyddanydd atta'i lawr,
Na chawn i farw o dristwch mwy;
  O Dduw cyflawna'th air i ben,
  Rho im' Arweinydd îs y nen,
Ddangoso'r ffordd, iachäo nghlwy'.

4 Mae brodyr i mi aeth ymlaen,
  Trwy ddyfnach dwr a phoethach tân,
Ac etto gorchfygasant hwy,

Dyw'r dyfroedd aethum trwyddynt ddim,
Mewn lled a dyfnder nerth a grym,
Paham yr ofnaf finau mwy ?

5 Yn ymchwydd yr Iorddonen gref,
Dal f' enaid afael ynddo ef;
Mae'r tònau'n fawrion iawn eu grym,
Af trwyddynt er nad wyf ond gwan,
Os cedwi di fy mhen i'r làn,
Fydd tònau mawrion i mi ddim. W. W.

## HYMN XCVIII. (8. 8. 8.)

*" Fffordd yr holl ddaear."*

1 MAE dydd at ddydd yn dod i ben,
A'm taith drafferthus îs y nen,
Fe ddirwyn amser at y nôd;
Ac yno mhechod a gaiff friw,
A thyna'r pryd concweria'm Duw,
Bob rhyw ffieidd-dra fu ynwy' erioed.

2 Wel dere ddedwydd hyfryd ddydd,
Rho fy nghadwynau tyn yn rhydd,
Gad i mi brofi'r hyfryd wledd:
Lladd anghrediniaeth sydd yn awr,
Yn curo f' enaid bach i lawr,
Ac ymaith tyn holl ofnau'r bedd.

3 Os ydwyt am fy nhori i lawr,
O dwrf a dwndwr daear fawr,
A'm rhoddi i orwedd yn y bedd:
O anfon waedd ar fore-ddydd,
O'm rhwymau mawr i'm rhoddi'n rhydd,
I fyw byth bellach yn dy hedd.

4 Dwy'n ofni ond yr afon ddu,
Sydd rhyngwy' a fy nghartre fry,
Yr angeu glas wnaeth fyrdd yn wan:
Fy enaid 'mafael yno'n llaw,
Yr hwn ei hun aeth trwyddi draw,
Ac yn ei law mi dd'of i'r làn.

5 'Dwy' 'nabod dim o'r nefol le,
Ond gwynfyd a fa'i ynddo fe,
Rwy'n caru pawb o fewn y wlad;
Y dymher nefol fwyn sydd fry,
Yn awr ddymunwn genyf fi,
Fy nghartref ydyw tŷ fy Nhad. W. W.

## HYMN XCIX. (8. 8. 8.)

*Angeu'r groes.*

1 NIS gall angelion nef y nef,
Fynegi maint ei gariad ef,
Mae angeu'r groes yn drech na'u dawn:
Bydd canu uwch am Galfari,
Nag glywodd yr angelion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn.

2 Nis teimlodd neb ond ef ei hun,
Anfeidrol werth fy enaid cun,
Uwch da, uwch aur, uwch perlau drud;
Ni thalai dim ond gwaed fy Nuw,
Angeuol farwol loes a byw,
A'm prynai o dragwyddol lid.

3 Y penaf drysor heddyw yw,
O fewn y nefoedd gwaed fy Nuw,
Holl sylwedd y caniadau i gyd:
A thyna'r gwaed a roddodd iawn,
I ddwyfol ddigter perffaith llawn,
Fy hedd a'm cysur yn y byd.

4 Am iddo farw ar y bryn,
Cadd f'enaid bach ei brynu'n llyn,*
A'i dynu o'i gadwynau'n rhydd;
Byth bellach tan ei haeddiant ef,
Fel cysgod cedrwydden gref,
Gorphwysai mwy y'ngwres y dydd.

* *Mae y geiriau "yn llyn" ac "fel hyn" yn gyfystyr.*

5 Boed oesoedd meithion fwy na mwy,
Heb rif, heb ddarfod arnynt hwy,
I ganu am dy ddirfawr boen:
Na thawed tafod o unrhyw,
Na dim o dan y nef sy'n byw,
Ond sôn am goncwest addfwyn Oen.

W W.

## HYMN C. (8. 8. 8.)

*Concwest Calfaria.*

1 GWNAED concwest ar Galfaria fryn,
Am dano canodd myrdd cyn hyn,
Fe faeddwyd uffern faith i gyd:
Fe brynwyd gwael golledig ddyn,
Fe wnaed y ddwyblaid ddig yn un,
A gwaed Iachawdwr mawr y byd. M. R.

2 O dyma ddyfais fwya'i maes,
Fwya'i chariad, fwya ei gras,
Agorodd ffordd o'r ddae'r i'r nef;
Cariad heb gymhar iddo'r un,
A nofiodd yn ei waed ei hun,
Trwy angeu oedd ei gariad ef.

3 Fe gongcrodd trwy angeuol glwy,
O elynion creulon nerthol fwy,
Nag all'sai byd eu congcro'n un:
Fe faeddodd uffern ëang lawn,
Ar ben Calfaria un prydnawn,
Yn lân heb neb ond ef ei hun.

4 Doed bellach Indiaid pella'r byd,
Doed gogledd, dwyrain, de y'nghyd,
Canent ei iachawdwriaeth ef;
Dadseinied holl dafodau'r byd,
Ag euraidd d'lynau'r nef y'nghyd,
Na pheidient tra fo nef y nef.

5 O dewch y'mlaen yn ddi-nacad,
Mi glywa swn caniadau'r wlad,
Peth o'r gorfoledd, peth o'r clod;
Difyrwch yn nghwmpeini Duw,
Nad oes o dan y ser yn byw,
Adnabu am ei fath erioed. W. W

## HYMN CI. (8. 8. 8.)

*Y Cyfaill goreu.*

1 WEL dyma'r cyfaill goreu gaed,
Mae'n gan-mil gwell na mam na thad,
Yn mhob caledi ffyddlon yw:
Mae'n medru maddeu a chuddio bai,
Ac o'i wir fodd yn trugarhau,
Wrth bechaduriaid gwael eu rhyw. M. R.

2 Y sawl a'th gaffo gwyn fyd hwy,
Ni allant byth ddymuno mwy;
Ti lenwi eu heisiau' gyd o'r bron;
Mae môr a thir, a da a dyn,
Oll yn dy heddwch di dy hun,
A mwy na fedd y ddaear hon.

3 Anghenus wyf bechadur gwan,
Am hyn 'rwy'n tynu tua'r làn,
Yn gweled digon gan fy Nuw:
Trysorau pe cawn eu mwynhau,
A laddai ngofid, laddai ngwae,
Ac a ngwnai'n llawen tra fawn byw.

4 O ddedwydd nefol hyfryd awr,
Caf roddi meichiau trwm i lawr,
Ag sy'n fy mlino foreu a nawn;
A myn'd i wlad lle nad oes bai,
Ond cariad perffaith i barhau,
Llawenydd pur a heddwch llawn.
W. W.

## HYMN CII. (8. 8. 8.)

*Rhyfeddodau'r Groes.*

1 NI welodd llygad dyn erioed,
Ni chlywodd clust o dan y rhôd,
Am neb cyffelyb iddo ef:
O rosyn Saron, hardd ei liw,
Pwy ddyd i maes rinweddau'm Duw,
Efe yw bywyd nef y nef.

2 Mae yn ei glwyfau drysor drûd,
I faddeu beiau pena'r byd,
O flaen yr orsedd bura sydd:
Ni all euogrwydd yno ddim,
Fe gyll deddf Sinai oll ei grym.
Maddeuant perffaith garia'r dydd.

3 'Does un aflendid unrhyw fai,
Nad yw ei haeddiant yn glanhau;
Pechodau dua' glywid son,
A foddir yn yr afon fawr,
Mewn amryw liwiau ddaeth i lawr,
O ystlys addfwyn nefol Oen.

4 Mi gara fy anwylyd mwy,
Dyoddefodd droswyf farwol glwy',
Agorodd ffynnon loyw fyw;
I olchi hen archollion wnaed,
Gan bechod cas o'm pen i'm traed,
Y dyfroedd dardd dan groes fy Nuw.

5 Fe all yr Indiaid pella gaed,
I wel'd yr hoelion yn ei draed,
A gwel'd ei bèn yn crymu lawr;
Fe ylch y pelledigion hyn,
Yn ganaid fel yr eira gwyn,
Oddiwrth eu beiau fach a mawr.

W. W.

## HYMN CIII. (8. 8. 8.)

*Hyder y Cristion.*

1 WEL f' enaid cerdd y ffordd yn hŷ,
Yn union tua Sïon frŷ,
A chadw'th lygaid ar y nôd;
Calfaria fryn lle gweli'r groes,
A'i haberth arni tan ei loes,
Rhyfeddod mwya'r nef erioed.

2 Mae meddwl am yr oriau pur,
Câf rodio'r Baradwysaidd dîr,
Ac yfed pleser sy'n parhau;
Mewn gwlad heb lewyrch haul na lloer,
Na therfysg tîr na thwrf y môr,
Yn fy rhoi'n awr i lawenhau.

3 Datguddia'n gyflawn i mi ar frys,
Ogoniant maith dy nefol lŷs,
Didranc bleserau'r sanctaidd dîr:
O dangos im' mai ti yw'm rhan,
A d'wed cai ddyfod yna i'r làn,
I'th gyflawn weled cyn bo hîr.

4 Fe welir Sïon fel y wawr
Er tloted yw eu gwêdd yn awr,
Yn dod o'r cystudd mawr i'r làn;
Heb glâf na chlwyfus yn eu plith,
Yn y cyfiawnder dwyfol byth,
Saif yn y diwedd yn eu rhan. W. W.

## HYMN CIV. (8. 8. 8.)

*Codi'r Groes.*

1 A RAID i gystudd garw'r groes,
I ganlyn f' ysbryd ddydd a nos?
Os rhaid gwna fi'n foddlon iawn:
Tan ganu gwna fi fyn'd y'mlaen,
Sef canu yn y dwr a'r tân,
*O foreu mywyd* hyd brydnawn.

2 Danfon i mi'r Dyddanydd pur,
Y golofn dân mewn anial dir,
Sy'n ledio'r praidd o'r Aipht i'r nef;
Yr hwn a'i oleu perffaith sydd,
Yn gwneuthur nos yn ganol dydd,
Fy holl ddyddanwch ydyw ef.

3 Mi dòra'r c'lymau oll i gyd,
Sydd rhyngwy' a gwrthddrychau'r byd,
A phob cariadau gwag y llawr:
Mi 'dawaf enwau brawd a ffrynd,
A châr a phriod anwyl fyn'd,
Yn ddim er mwyn dy enw mawr.

4 Mae'th drugareddau maith eu rhin,
Yn d'od i lawr fel melys wîn,
O oes i oes heb dranc heb drai;
Dy gariad sy'n anfeidrol 'stôr,
Yn gyflawn berffaith fel y môr,
Ac yn dragwyddol yn parhau. W. W.

## HYMN CV. (8. 8. 8.)

*Y Nefoedd.*

1 MI welaf fyrdd yr ochr draw.
O rai 'maflasant yn ei law,
Yn canu heddyw yn beraidd iawn;
Mae ofnau yn darfod yn y wlad,
Lle mae fy Nuw, lle mae fy Nhad,
Ac yn eu lle llawenydd llawn.

2 O hyfryd ddedwydd nefol le,
Gwynfyd bob rhai sydd ynddo fe,
Y ddinas ddysglaer nefol glir;
Y man na fu, y man nad oes,
Na phoen, nac ing, na gwae, na loes,
Ond heddwch llawn a chariad pur.

3 A thyma'r wlad y ffy pob gradd,
O'r ofnau mawrion sy am fy lladd,

'Ddaw aeth nac arswyd yno ddim;
Y gelynion sy yma yn y byd,
A rwymir y pryd hyny 'nghyd,
Er maint eu rhwysg er maint eu grym.

4 'Ddaw anghrediniaeth cadarn cry',
Fyth, fyth o fewn i'r Ganaan fry,
Na chariad chwerw câs y byd;
A miloedd mwy gynddeiriog radd,
Sydd yn yr anial bron fy lladd,
Yn 'sgubau rhwymir yno 'nghyd.

W. W.

## HYMN CVI. (8. 8. 8.)

*Duw, noddfa'r Saint.*

1 DUW yw fy nerth a'm noddfa lawn,
Mewn cyfyngderau creulawn iawn,
Pan galwom arno mae gerllaw,
Ped ai'r mynyddoedd mwya i'r môr.
Pe chwalai'r ddaear fawr a'i stôr,
Nid ofnai'm henaid i ddim braw.

2 A phe doi'r moroedd tros y byd,
Yn genllif garw coch i gyd,
Nes soddi'r bryniau fel o'r blaen:
Mae afon bur i lawenhau,
A'i ffrydiau, ddinas Duw'n ddi-drai,
Preswylfa ei saint, a'i babell lân.

3 A Duw sydd yno yn eu plith,
Ni 'sgogir un o honynt byth,
Fe'u cymhorth hwy yn foreu iawn;
Y boreu byddo mwy na mwy,
O bob gwasgfeuon arnynt hwy,
Ceir gwel'd ei 'ddewid ef yn llawn.

4 Terfysgodd cenhedlaethau'r byd,
A breniniaethau aeth yn llid,
Yn erbyn ei Enneiniog ef;

Ing, cyfyng-gynghor, llewygfau,
Ac arswyd ddaeth ar gedyrn rai,
Y ddaear doddodd gan ei lef.

5 Arglwydd y lluoedd sydd o'n plaid,
Duw Iago'n gymhorth in' wrth raid,
Gobeithiwn ynddo byth am hyn;
Dewch 'drychwch ar ei ryfedd waith,
Fath ddystryw wnaeth trwy'r ddaear faith,
Mae'n siwr bydd yn amddiffyn in'.

6 Fe wnaeth ryfeloedd mawr eu llid,
I beidio hyd eithafoedd byd,
Y cedyrn mawr ddychryna o'i flaen;
Fe ddryllia'r bwa dur yn glau,
Fe dyr y waywffon yn ddau,
Fe lysg eu holl gerbydau â than.

W. W.

## HYMN CVII. (8. 8. 8.)

*Annog y Saint i foli Duw.*

1 DATGENWCH glod yr Arglwydd nef
Ei hen drugaredd rasol ef,
O oes i oes sydd yn parhau:
O! chwi holl waredigion Ior,
O! cenwch hyn ar dir a môr,
Mae'n para byth i drugarhau.

2 Rhai a waredodd ef trwy ras,
Y rhai a gasglodd, er eu câs,
O'r tiroedd gwasgaredig pell;
O'r dwyrain a'r gorllewin dir,
O'r gogledd ac o'r dehau'n wir,
I 'mofyn am orphwysfa well.

3 Tywysodd hwynt hyd ffordd oedd iawn,
O'i ras a'i ddoeth ryfeddol ddawn,
I ddinas gyfanneddol glyd:

O! na foliannent hwy, bob awr,
Yr Arglwydd a'i ddaioni mawr,
Gan gofio ing Iachawdwr byd. R. J.

## HYMN CVIII. (8. 8. 8.)

*Dwyn y pell yn agos.*

1 O! F' ENAID gwel ar Galfari,
Ei ras a'i gariad fel y lli',
Iesu yn marw ar y pren,
Yn aberth dros yr euog rai;
Gael modd i fadden pob rhyw fai,
Gruddfanodd ef nes rhwygo'r llen.

2 Unwaith, trwy ddyoddef angeu loes,
Gwnaeth ffordd agored ar y groes,
I'r pelledigion gael neshad;
Fe dynodd, do, y canol fur,
Pan yfodd waddod cwpan sur—
Mae iachawdwriaeth yn ei waed.

3 Mae modd i'r caethion gael rhyddhad,
A'r gwahan-gleifion wir iachad,
A'r pell eu dwyn i ddinas Duw.
O! doed y byddar, mud, yn awr,
A'r dall, i wel'd goleuni mawr—
Nesewch y'nghyd, dydd achub yw.

4 Mae'r cloff yn llamu fel yr hydd,
A'r meirw'n codi. Dyma'r dydd,
Gorchfygodd Iesu ar y groes:
O! chwi genhedloedd, dowch y'nghyd,
O holl ynysoedd pella'r byd,
I brofi rhinwedd dwyfol loes. R. J.

## HYMN CIX. (8. 8. 8. 6.)

*Cariad Iesu.*

1 WEL dyma'r cariad sydd yn awr,
Yn curo pob cariadau i lawr,

Yn llyncu enwau gwael y llawr,
Oll yn ei enw ei hun:
O fflam angerddol gadarn gref!
O dân ennynwyd yn y nef,
Trag'wyddol gariad ydyw ef,
Wnaeth Dduw a ninau'n un.

2 Nid oes ond f' Arglwydd mawr ei ddawn,
A leinw f' enaid bach yn llawn,
Nis gallwn ddala mwy pe cawn,
Mae ef yn ddigon mawr:
A digon, digon, digon yw,
Dy hyfryd bresennoldeb gwiw,
Yn angeu ceidw hyn fi'n fyw,
A boddlon wyf yn awr.

3 Wel ffowch ar ffrwst bleserau i gyd,
Diflenwch oll wrthddrychau'r byd,
Na bo'ch gael effaith ar fy mryd,
I'm dwyn oddiwrth fy Nuw;
Doed tân a diluw yn gytun,
Aed dwr a daear fawr yn un,
Mi fyddaf yr hapusaf ddyn,
Mae'm Iesu etto yn fyw. W. W.

## HYMN CX. (8. 8. 8. 6.)

*Y Cristion hiraethog.*

1 PAN ymddattodo'r tŷ o bridd,
A'm henaid i ddiengu'n rhydd,
O'r holl gadwynau cryfion sydd,
Yn dala'n awr yn dŷn;
Caf deimlo pleser uwch y rhod,
Na ddaeth i galon dyn erioed,
I feddwl nac i gredu fod,
Y fath fwynhad a hyn.

2 Llawenydd bythol i'w fwynhau,
Byth ar fy nghoryn yn ddidrai,

A chariad perffaith i barhau,
  Heb 'nabod diwedd mwy;
Galar a gruddfan ymaith ffy,
Achwynion a chystuddiau lu,
A 'medu yn y nefoedd fry,
  Trwy rinwedd marwol glwy.

3 Myfyrio am fyn'd sydd felys iawn,
Mae f'enaid eisoes foreu a nawn,
Am gynnefino ei nefol ddawn,
  A chwareu ei aden bur;
Fel pe-ba'i am anturio'n hŷ,
Trwy ganol y cymylau frŷ,
A neidio i mewn i blith y llu,
  Lle mae'r Messiah gwir. W. W.

## HYMN CXI. (8. 8. 8. 6.)

*Taith yr anialwch.*

1 PA beth a wnaf fi yma'n byw,
  Y'mhell, y'mhell oddiwrth fy Nuw,
Mewn gwledydd sychion drwg eu rhyw,
  Lle dianc pob mwynhau:
Os llewyrch bach o oleuni cawn,
Ar ol cymylau duon iawn,
Daw tymestl eilwaith cyn prydnawn,
  O ddychryn, aeth, a gwae.

2 Mae ngofid yn yr ardal hon,
Yn dod y'mlaen o dòn i dòn,
'Does ond gruddfanau dan fy mron,
  'Dwy'n gwneuthur dim lleshad;
Y'mysg dyeithriaid ëon hŷ,
Gelynion duon, creulon, crŷ,
Oddiwrth y sawl a garaf fi,
  Y'mhell o dŷ fy Nhad.

2 O gwna i mi wylio bob yr awr,
Rwy'n rhodio dan beryglon mawr,

Ac nid oes dim ond llewyrch gwawr,
Dy wyneb gwridog gwyn;
A wna i mi deithio'r anial nos,
'Rhyd llwybr cyfyng angeu'r groes,
Myfyrio am dy farwol loes,
Ac hefyd canu hyn. W. W.

## HYMN CXII. (8. 8. 8. 6.)

*Cwynfan y Cristion.*

1 RWY' bron rwy' bron a llwfrhau,
Wrth wel'd grasusau yn llesghau,
A'm temtasiynau yn parhau,
Yn danllyd yn y blaen:
O tyr'd awelon sanctaidd dir,
Tan adain dawel Ysbryd pur,
Disgynwch arna'i cyn bo hir,
Diffoddwch uffern dân.

2 Rhaid i mi gael rhyw faint o'r grawn,
Sy'n werthfawr ac yn felys iawn,
Yn tarddu o'r winwydden lawn,
A wasgwyd ar y groes:
'Does dim a ddeil fy ysbryd gwan,
I ddringo creigydd hyll i'r lan,
Nes teimlwy' i mi brofi rhan,
O'r ddwyfol farwol loes.

3 Rwy'n blino eisiau gwel'd y wlad,
Roed i mi mewn addewid rad,
A phrofi cyflawn wir fwynhad,
O sypiau'r Ganaan wiw;
Awn tros fynyddau mawrion maith,
A'r bryniau mwyaf ar fy nhaith,
Heb flino dim na gorphwys 'chwaith,
Nes awn i dŷ fy Nuw. W. W.

## HYMN CXIII. (8. 8. 8. 6.)

*Hyder a gweddi y Cristion.*

1 FY noddfa gadarn fythol yw,
Y gair a ddaeth o enau'm Duw,
Fe ddywedodd y cawn ninau fyw,
Anfeidrol yw ei ras:
Mi welaf ôl ei siriol saint,
Tan y cystuddiau mwya' eu maint,
Yn cadw eu cysur yn cadw eu braint,
Yn wyneb angeu glâs.

2 O addfwyn Iesu gad i'm fod,
O fewn dy gorlan dan dy nod,
A threulio mywyd er dy glod,
Yn gyflawn o dy hedd;
Y'nghanol terfysg a phob gwae,
Croes a chystuddiau yn amlhau,
Gan fyn'd y'mlaen tan lawenhau,
Nes gorwedd yn y bedd.

3 Duw os wyt am ddybenu'r byd,
Cyflawna'n gynta' d'air i gyd,
Dy etholedig galw 'nghyd,
O gwmpas daear fawr:
Aed sain dy efengyl trwy bob gwlad,
A golch fyrddiynau yn dy waed,
A dyro iddynt wir iachad,
Ac yna tyr'd i lawr. W. W.

## HYMN CXIV. (8. 8. 8. 6.)

*Afon iachawdwriaeth.*

1 FEL afon gref lifeiriol yw,
Gras a daioni'r Arglwydd Dduw;
Efe sy'n cadw'r saint yn fyw,
Mewn troion cyfyng iawn;

Ar sychder mawr mae'n dyfrhau,
A hyn bob moment yn parhau,
A chyda hyn mae yn glanhau,
  Foreuddydd a phrydnawn.

2 Mae ffrydiau'r afon hon, a'i rhin,
A'i blas, yn llawer gwell na'r gwin,
Yn adnewyddu'r enaid blin,
  A'i gynnal dan y groes;
Mae'n dwyn tangnefedd nef fel lli',
Trwy waed ac aberth Calfari,
I ran yr enaid gwan ei gri,
  Yn nyfnder pob rhyw loes. R. J.

## HYMN CXV. (8. 6.)

*Mawredd a gras Duw.*

1 LLON'D y nefoedd, llon'd y byd,
  Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd trag'wyddoldeb maith ei hun
  Diderfyn ydyw Duw:
Mae'n llon'd y gwagle yn ddigoll
  Mae oll yn oll, a'i allu'n un;
Anfeidrol, annherfynol Fod,
  A'i hanfod ynddo ei hun.

2 Anfesuredig yw ei ras,
  Un addas yw i ni;
Ni a welsom ac a glywsom son,
  Am droion Un yn Dri:
Ac fel y clywsom, felly y mae,
I ninau'n rhyfedd yn parhau,
Yn ddigyfnewid i'w fwynhau,
  Er cymaint beiau'r byd.

3 Ein holl feddyliau, da a drwg,
  Sydd amlwg iddo ef;
A phob uchenaid ddystaw iawn,
  Fe'i clyw, mor llawn a'r llef:

Fe edwyn galon dyn heb goll,
A'i fwriad oll, ofered yw:
Mae'r chwant yn weithred cyn ei gwneyd,
Hawdd d'weyd, yn nghyfrif Duw.

4 Clyw, f' enaid tlawd, mae genyt dad,
Sy'n gwel'd dy fwriad gwan,
A brawd yn eiriol yn y nef,
Cyn codi'th lef i'r lan:
Cred nad diystyr gan dy dad,
Yw gwrando gwaedd dymuniad gwiw;
Pe byddai d'enau yn rhy fud,
I'w d'wedyd ger bron Duw. E. J.

## HYMN CXVI. (M. B. D.)

*Hyder y Saint.*

1 RWY yn terfynu nghred,
'Nol pwyso oll y'nghyd;
Mai cyfnewidiol ydyw dyn,
Ond Duw sydd un o hyd:
Ar ei ffyddlondeb ef,
Sy'n noddfa gref i'r gwan,
Mi greda' do'i mhen gronyn bach,
O'r tonau'n iach i'r lan.

2 Cyfiawnder marwol glwy,
A haeddiant dwyfol loes,
Y pris, y gwerth, a'r aberth drud,
A dalwyd ar y groes;
A gliria meiau'n llwyr,
A'm gylch yn hyfryd lân,
Ac od oes dim o tan y nef,
A'm nertha i fyn'd ymlaen.

3 Mae pen ein taith ger llaw,
Ar fyrder gwawria'r dydd,
O fy nghadwynau caeth bob rhyw,
Fe'm tŷn fy Nuw fi'n rhydd:

Tros yr Iorddonen lâs,
Caf landio maes o law;
I fwyta ffrwythau nefol pur,
Yr hyfryd dir sydd draw.

4 Cyrhaeddwn yn y blaen,
'Nawr nes-nes at y nôd,
Na ildiwn ddim mawr yw ein braint,
Ni chollodd saint erioed:
Pob peth sy'n galw am frys,
Fyn'd tua llŷs ein Tad,
Nyni cawn fwyta yn y man,
Ddanteithion Canaan wlad. W. W.

## HYMN CXVII. (M. B. D.)

*"Awn rhagom."*

1 WEL f'enaid dos y'mlaen,
'Dyw'r bryniau sydd ger llaw,
Un gronyn uwch, un gronyn mwy,
Na hwy a deithiaist draw;
Dy anghrediniaeth caeth,
A'th ofnau maith eu rhi'
Sy'n peri it' feddwl rhwystrau ddaw,
Yn fwy na rhwystrau fu.

2 Does fodd im' fyn'd y'mlaen,
Heibio pob gelyn llym;
Oni fyddi di yn niwl a thân,
Yn gledd a tharian im';
A rhwygo'r môr yn ddau,
Palmentu'r tywod mân,
Ac yna ei gauad ar fy ol,
I rwystro Pharaoh y'mlaen.

3 Mi welaf fyrdd dan sel,
Fu'n ofni fel fy hun,
'N awr wedi dringo'r creigydd serth,
I gyd trwy nerth yr un;

Yn canu'r ochr draw,
Heb arnynt fraw na phoen,
Ganiadau hyfryd Calfari,
Dyoddefaint addfwyn Oen.

4 'Ddaw pechod cas na phoen,
I flino'm henaid mwy,
Pan landiw'i mewn i Salem dir,
Iacheir fi'n glir o'm clwy';
Caf yno wir ryddhad,
Oddiwrth pob brad a briw;
'Ddaw gofid, gwyn, nac och, na gwae,
I'r llŷs lle mae fy Nuw. W. W.

## HYMN CXVIII. (M. B. D.)

*Cwyn a hyder y Cristion.*

1 RWY'N ofni'm nerth yn ddim,
Pan elwy i rym y dòn;
Mae terfysg yma cyn ei ddod,
A syndod dan fy mron;
Mae ofnau o bob rhyw,
Oll fel y diluw 'nghyd,
Yn bygwth i fy nhori i lawr,
Pan ddel eu hawr ryw bryd.

2 A minau sydd am ffoi,
Neu ynte droi yn ol,
Yn methu credu saif i'r lan,
Un truan gwan a ffol;
Ac etto 'rwyf o hyd,
Yn symud peth y'mlaen,
Nid fi yw'r cyntaf eiddil wr,
Goncwerodd dwr a thân.

3 Mae'r llwybr heddyw yn rhydd,
Ein Tywysog sydd y'mlaen,
Yn agor holl adwyau'r ddraig,
Oddiyma i Sïon lân;

Bydd canu braf am hyn,
  Yn Salem cyn bo hir,
Pan ddelo'r nef a'r ddaear lawr,
  I seinio'r anthem bur.

4 Mae yr Iorddonen fawr,
  Yn dal yn awr ei dwr,
Mae Israel Duw trwy ganol hon,
  Yn myn'd yn llòn bob gwr;
Mae'n sefyll ynddi'r Arch,
  Yn fawr ei pharch a'i bri,
Ac yno bydd ein ffyddlon ffrynd,
  Nes trosodd fyn'd â ni. W. W

## HYMN CXIX. (M. B. D.)

*Iesu yn bob peth.*

1 I'R Iesu boed y clod,
  Tra byddo bod na byd,
Efe oedd cyn y diluw mawr,
  Efe sy'n awr o hyd;
Yn gyfaill ac yn Dduw,
  Pob llwythau, rhyw, ac iaith,
Efe a'n harwain ni uwch nen,
  Yn gryno i ben ein taith.

2 Mae rhinwedd yn dy waed,
  I faddeu beiau mwy;
Nag y gall angel fyth na dyn,
  I rifo mo honynt hwy;
Mae ffynnon ar y bryn,
  A ylch yn wyn a glân,
Bechodau o ryw ffieiddia 'rioed,
  Rifedi'r tywod mân.

3 Does diwedd byth na thrai,
  Ar gariad angeu loes;
Uwch pris o'r gwerthfawroca gaed,
  Yw haeddiant gwaed y groes;

Fe gana'r Negroes du,
Fe gana'r Indian draw,
Fe faddeu i'r aflan oes y sy,
Fe faddeu i'r oes a ddaw.

4 Ffarwel fo i haeddiant dyn,
Ffarwel at ddyn i fyn'd;
Ffarwel doethineb a phob dawn,
Fo i natur lawn yn ffrynd;
Aeth dyn a'i allu mawr,
Yn awr i lawr yn ddim;
Iesu fydd bellach yn mhob man,
Fy nharian a fy ngrym. W. W.

## HYMN CXX. (M. B. D.)

*Yr achos Cenadol.*

1 WEL, deuwch tua'r wlad,
Y ffordd a gaed yn rhydd;
Ar ol rhyw noswaith dywyll gaeth,
'Nawr gwawrio wnaeth y dydd,
Oddi yma i Peru,
Mae 'fengyl Duw'n rhoi bloedd,
Yn cyhoeddi i'r Negroes dua eu lliw,
Drugaredd Duw ar g'oedd.

2 O fore llawn o hedd,
Bydd hon yn wledd o fri,
Pan y cyhoeddir Jubil lawn,
Yn hyfryd iawn i ni:
A'r udgyrn arian glâs,
Yn rhoddi i maes y sain,
Fod iachawdwriaeth gyflawn gun,
I'r gwaelaf un o'r rhai'n.

3 A doed breninoedd byd,
Yn unfryd ato ef;
A rhoddant eu coronau lawr,
O flaen ei orsedd gref;

Ei enw led-led sydd,
  A'i glod ef fydd uwchlaw,
Y cwbl ag sy yma i gyd,
  Ac yn y byd a ddaw. W. W

## HYMN CXXI. (M. B. D.)

*Maddeuant.*

1 O GWRANDO weddi'r tlawd,
  On'd ffyddlon frawd wyt ti,
I'r rhai cystuddiol clwyfus gwan,
  Sy 'mofyn rhan o fry?
Ti wyddost ti fy mhla,
  Fy ngofid, a fy mhwn,
Ac nid oes ond dy anfeidrol rym,
  All symud dim o hwn.

2 Mi rof fy meiau o'r bron,
  Yn gyson o dy flaen;
Tafl hwy i fôr o anghof pur,
  Mewn anial dir yn lân,
Na safed y rhai hyn;
  Byth yn fy erbyn draw;
Pan y cyhoeddir beiau cudd,
  O fewn y dydd a ddaw.

3 Ond boed maddeuant llawn,
  Yn hyfryd waed yr Oen;
Yn destun moliant yn mhob man,
  I mi sydd dan fy mhoen;
Yr anthem faith ei hyd,
  Fo i gyd am Galfari;
A'r iachawdwriaeth fawr ei dawn,
  Roed un prydnawn i mi.

4 Na foed im' garu mwy,
  Un gwrthddrych is y ne',
Ond hwnw fu'n plygu ei ben,
  Ar groesbren yn fy lle;

Does dim, does neb ond ef,
Mewn daear, nef, a llawr,
Ac na cheisied neb o'r clod,
Sy'n eiddo Iesu mawr. W. W.

## HYMN CXXII. (M. B. D.)

*Buddugoliaeth y groes.*

1 FE 'nillodd Iesu'r dydd,
Mewn buddugoliaeth lawn,
Yn erbyn uffern fawr ei hun,
Yn loyw un prydnawn;
Fe agorodd byrth y nen,
O led y pen i rai,
Cystuddiol, gorthrymedig, gwan,
Sy'n gruddfan dan eu bai.

3 Am hyny awn yn hŷ,
Trwy ganol lluoedd maith,
Heb ofni dyfais, grym, na'r llid,
Sy'n cwrddyd ar ein taith;
Awn yno i Galfari,
Bu'r gwaed yn lli i'r llawr;
Ni gofiwn gariad pur dinam,
Ni ganwn am yr awr.

Ni deithiwn yn y blaen,
Cawn weled Sïon fryn,
Lle mae myrddiynau maith mewn hwyl,
Yn cadw gwyl am hyn;
Cawn fyn'd i mewn i'w plith,
I yfed byth o'i hedd,
Anfeidrol gariad perffaith gwiw,
Tragwyddol yw y wledd. W. W.

4 Mi gana am waed yr Oen,
Er maint fy mhoen a mhla,
Ni cheisia'n wyneb calon ddu,
Ond Iesu'r meddyg da;

Fy mlino ge's gan hon,
  A'i throion chwerwon chwith,
Ond dyma'm sail i am y wlad,
  Y cariad a bery byth.

## HYMN CXXIII. (M. B. D.)

*Dymuniadau'r Cristion.*

1 O IESU'R meddyg da,
    Iachâ fy enaid caeth,
  A sicr seilia fi ar y Graig
    Sydd uwchlaw'r ddraig a'i saeth,
  Am ddianc wyf i'th gôl,
    Mae'n f'ol elynion griw,
  O cofia mod mewn anial wlad,
    A char fi'n rhad tr'wy' byw.

2 Sodoma, 'r Aipht, y man
    Croeshoeliwyd'r anwyl Oen,
  Yn mhell o olwg Canaan wiw,
    'Rwy'n byw mewn dygn boen,
  Yn mhlith gelynion haid,
    Bydd im' yn blaid, fy Nuw;
  O cofia mod, &c.

3 Ar lan y llyn yn wir
    Y bum yn hir a maith,
  Yn dyfal ddysgwyl gwneyd yn iach,
    Fy enaid bach oedd gaeth;
  Un olwg ar dy waed
    Roiff im' iachad o'm briw;
  O cofia mod, &c.

4 Fy mhechod maddeu clyw,
    Er cymaint yw eu rhif;
  Mae afon bur (o'th ystlys rad)
    O ddwr a gwaed yn llif;
  Ac yma golch fi'n lân,
    Fel gwello'm ffiaidd friw;
  O cofia mod, &c.

5 Bydd im' yn dirion ffrynd;
Rhaid im' gael myn'd yn rhydd:
P'odd gallai aros yma'n hwy?
Fy nghlwyfau'n fwy-fwy sydd,
Ond llefain wnaf hyd fedd
Am hyfryd hedd fy Nuw;
O cofia mod, &c.



6 N'âd i mi ofni mwy
Fyn'd trwy'r anialwch maith;
Er gwaetha'r lluoedd sydd îs nen,
Dwg fi i ben fy nhaith:
Cysura'm calon wan,
A sypiau'r Ganaan wiw!
O cofia mod mewn anial wlad,
A char fi'n rhad tr'wy' byw.

W. W.

## HYMN CXXIV. (M. B. D.)

*Pererindod y Cristion.*

1 FY ngweddi, dos i'r nef,
Yn union at fy Nuw,
A dywed wrtho ef yn daer,
"Attolwg, Arglwydd, clyw!
Cyflawna'th 'ddewid wych,
I'm dwyn i'th nefoedd wen:
Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen."

2 Pererin llesg a llaith,
Dechreuais daith oedd bell,
Trwy lu o elynion mawr eu brad,
Gan geisio gwlad sydd well;
Am ffoi mae f'enaid tlawd,
At f'anwyl Frawd a'm Pen:
Yn Salem fry, &c.

3 Yn nglyn gwylofain drist,
Lle bu fy Nghrist, 'rwy'n byw;

Ac wrth ryfela a'm gelyn caeth,
Fy nghalon aeth yn friw ;
Iacha bob clwyf a brâth,
A dail y bywiol bren:
Yn Salem fry, &c.

4 Mae'm mrodyr uwch y nen,
Yn canu ar ben eu taith,
A minau oedais lawer awr,
Ar siwrnai fawr a maith:
Ond bellach tyn fi'n ddwys,
Ar Grist dod bwys fy mhen:
Yn Salem fry, &c.

5 Gwna im' fyn'd y'mlaen yn ddewr,
Trwy ddyfroedd mawr a thân,
Heb ofni Satan lew na'i lu,
Nes elwy' i Sïon lân;
Gan ddianc ar y byd,
I'm cartref clud uwch ben :
Yn Salem fry, &c.

6 'Rwy'n gwel'd yr oriau'n hir,
I fod o dir fy ngwlad;
Bryd deuaf at fy mrodyr fry,
Sy'n canu'n nhŷ fy Nhad?
Gael gorphen ar fy nhaith,
A'm siwrnai faith îs nen:
Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen.

W W

## HYMN CXXV. (M. B. D.)

*Penderfyniad y Cristion.*

1 WEL, mi ddarfyddaf mwy,
Yn lân a haeddiant dyn;
Ni chym'rir iawn o flaen fy Nhad,
Ond dwyfol waed ei hun:
Gofynion nef sydd fwy,

A'u taliad hwy mor ddrud,
Na's tâl mynyddau'r ddaear hon;
Pe'n berlau o'r bron i gyd.

2 Y fan b'ost ti fy Nuw,
Anfarwol fywyd sy;
Yn tarddu megys dwr o'r graig,
I'r làn i'r nefoedd fry:
Rhyw wawr ddysgleirwen sydd,
Yn tywynu o hono ef,
Yn arwain trwy bob ffôs a nant,
Holl ffyddlon blant y nef.

3 Mae'r deillion yma'n gwel'd,
A'r cloffion hefyd sydd
Wedi cael hollol lwyr iachâd,
Yn llamu â'u traed yn rhydd:
Mae rhai sy â ffiaidd friw
Uwch meddyg i'w iachâu;
Yn cael wrth brofi'r bywiol ddwr
Eu gwella a'u glanhau.

4 Minau ffieiddiaf un
O'r pererinion gwan;
Ond cael fy ngolchi oddiwrth fy mai,
Fyth dringo wna'i i'r lan:
A dwyfol nefol loes,
Cystuddiau'r groes a'i briw,
A'm nertha fyn'd o'r byd a'i wae,
I'r man lle mae fy Nuw.

5 Os gelynion ddaw i'm cwrdd
A rhyw ddaearol swyn,
Mi 'drycha'r aberth ar y pren,
Ddyoddefodd er fy mwyn:
Fe ddiffodd cariad pur
Fu ar hoelion dur bob ple
Sy gan y byd, y cnawd, a chwant,
I'm denu o ffordd y ne'. W. W.

## HYMN CXXVI. (M. B. D.)

*Pererindod y Cristion.*

1 CHWI bererinion glân,
Sy'n myn'd tu a'r Ganaan wlad,
Ni thariaf finau ddim yn ol,
Dilynaf ol eich traed;
Nes elwy' i Salem bur,
Mewn cysur llawn i'm lle:
O Ffrynd troseddwyr moes dy law,
A thyn fi draw i dre'.

2 Mi ge's arwyddion gwir
O gariad pur fy Nuw;
Ei ras a'i dawel hyfryd hedd
I'm henaid rhyfedd yw;
Yn mhell o'r babell hon
Mae 'nghalon gydag e':
O Ffrynd, &c.

3 Mae'r manna gwedi ei gael
Mewn dyrus anial dir,
Ymborthi câf, ond myn'd yn mlaen,
Ar ffrwythau'r Ganaan bur:
Mae yno sypiau grawn
Yn llawn o fewn i'r lle:
O Ffrynd, &c.

4 Wrth feddwl am y wlad
A ragbar'tow'd i'r plant,
A chyflawn degwch tŷ fy Nhad,
Mae ar fy nghalon chwant
I landio uwch y nen,
Tu draw'r Iorddonen gre':
O Ffrynd, &c.

W. W.

## HYMN CXXVII. (M. B. D.)

*Crist yn bob peth.*

1 MI wn i Grist, mi wn
Fy ngharu cyn bod byd,
Parhau fy ngharu gwn y gwna,
Yn ddidrai yr un o hyd;
Fe yw'm Tywysog hardd,
Efe yw'r Meddyg mawr,
Efe yw'm Harchoffeiriad gwych,
Sydd troswy'n pledio'n awr.

2 Fy Mrawd yw'r Iesu da,
Fy Mherl o uchel bris,
Fy Nghyfaill yw a'm Cariad mwyn,
Fy Ngobaith yn ddilys;
Fy Mhren y Bywyd mawr,
Fy Nrŵs i fyn'd at Dduw,
Fy Ffordd i fyned tu a'r wlad
Lle mae fy Nhad yn byw.

3 Fy Rhosyn Saron gwych,
Yw'r hyfryd Iesu mwyn,
Fy Mugail yw, a mi sydd un
O'i dirion anwyl ŵyn:
Fy Mhrynwr yw heb lai,
Fy Mhriod yn ddi-gêl,
Fy Nharian gref a'm 'Fforddwr da,
Fy sicr Ran a'm Sêl.

4 Omega, Alpha mawr,
A'm Hawl yw'r anwyl Grist,
Efe yw'm Hamddiffynfa lon,
Efe yw'm Ffyddlon Dyst:
Fy Mhen, fy Nghorn, a'm Tŵr,
Fy euraidd Allor lân,
Fy Aberth drud a'm Prophwyd mawr,
Fe'm tywys yn y blaen.

5 Fe'm portha i â'i ras,
  Nes myn'd i ben fy nhaith,
Fe ladd fy holl elynion câs,
  Câf gonc'ro uffern faith:
Fy Arch a'm Hysgol yw
  I'm codi tu a'r nen,
Câf ddringo 'mlaen o nerth i nerth,
  Nes dod i Sïon wen. W. W.

## HYMN CXXVIII. (M. B. D.)

*Hyder y Cristion.*

1 FFARWEL bleserau'r byd,
  Ei freulyd fri a'i fraw,
Ni 'hedwn mwy fel adar mân,
  I'n trigfan treiglwn draw:
Cawn yno hyfryd hedd,
  A rhyfedd roddion rhad;
O dewch, O dewch, ni awn yn hy,
  Tu a'r wledd sy'n nhŷ ein Tad.

2 Henffych gyfeillion da,
  Fe ddarfu'r gaua i gyd,
Yn awr mae llais y durtur lon,
  Lan dirion yn y byd;
Fe ddaeth yr hyfryd haf,
  Yn beraidd braf i'n bro,
Gogoniant fo i'r Iesu byw,
  Fe carodd Duw ni, do.

3 Yn awr mae'r adar man,
  Ar dân yn moli Duw,
Yn awr mae'r haul a'r nefol hin,
  Ar rai o'r werin wiw:
Fe ddaeth y Jubili,
  On'd braf yw'n bri a'n braint?
Cawn fyn'd i dre' ar fyr o dro,
  I seinio gyda'r saint.

4 Ein brodyr sydd o'u bron,
Yn morio i Sïon wiw;
Mewn hyfryd hwyl yn myn'd tua'r wlad,
Lle mae ein Tad yn byw,
Cawn landio oll i'r lan,
I'r hafan hyfryd fry;
I blith y rhai sy'n gwaeddi'n rhad,
Am gariad Iesu cu. W. W.

## HYMN CXXIX. (M. B. D.)

*Yr yrfa ysbrydol.*

1 'RWYF wedi bwrw'r draul,
I fyn'd yn mlaen o hyd,
Nes gwelwy'r dydd yn gwawrio draw,
Mi wn y daw ryw bryd:
Er gwaetha'm llygredd cas,
Mi ddianga maes o law,
I gol fy Nuw a'm Priod cu,
Sy'n eiriol droswyf draw.

2 Mewn gwlad o drafferth blin,
Os rhaid i'm ronyn fod,
Bu'r Iesu'n rhodio yma ei hun,
Rwy'n dilyn ol ei droed;
Efe a'm gwnaiff yn rhydd,
Ryw ddedwydd ddydd a ddaw;
O flaen y fainc mae Mhriod cu,
Yn eiriol droswyf draw.

3 Er maint yw llid y ddraig,
I ddenu'm henaid llon,
Mi wela'[illegible]anctaidd had y wraig,
A'm [illegible]r ei fron:
Dysgw[illegible]to'n wych,
I Ed[illegible]ych[illegible]'odd y daw:
O flaen, &c.

4 Does pleser geny'n awr,
  Yn un lle tan y ne',
Mewn newyn ac mewn syched mawr,
  Rwy'n teithio tua thre';
Ca'm mhorthi â manna rhad,
  O fewn i'r wlad a ddaw;
O flaen, &c.

5 Ffarwel deganau'r byd,
  Ddo'nt yno i'm denu mwy;
Mi gaf fawrhau yr Oen o hyd,
  Mewn hawddfyd gyda hwy,
Ni welir yno un,
  Heb delyn yn ei law:
O flaen, &c. W. W.

## HYMN CXXX. (M. B. D.)

*"Gwlad well."*

1 WEL, dacw'r hyfryd fan,
  Mewn golwg gan fy ffydd;
Ac fel mae'r gwyntoedd yn cryfhau,
  Mae e'n neshau bob dydd;
Yn siwr o gario'r dydd,
  Trwy gystudd o bob rhyw,
Fe gur y 'storom hir barhad,
  Ni mewn i wlad ein Duw.

2 Does le in' golli'r ffordd,
  Mae niwl y dydd o'n blaen;
Fe'n t'wysir trwy'r anialwch hir,
  Gan golofn bur o dân;
Fe arwain dwyfol ras,
  Ni yn gywir maes o law,
Trwy ganol maith sychedig dir,
  I'r Ganaan bur sydd draw.

3 Saif Moab ddim o flaen,
  Ei fraich anfeidrol gref;
Trech na holl ddyfais uffern faith,
  Effeithiol waith y nef;

Y dyfroedd gloywon pur,
Sy o Fethl'em dir yn dod,
A'n nertha ni rai llesg a gwan,
Gael pechod dan ein troed.

4 Pe ba'i teganau'r byd,
Am hyny yn ulw mân;
Mae nghysur ac mae nghyfoeth siwr,
Uwch dystryw dwr a thân;
O addewidion gras,
Ca'i dderbyn maes o law,
Drysorau mwy tu hwnt i'r bedd,
Nag fedd yr India draw. W. W

## HYMN CXXXI. (M. B. D.)

*Hyder y Cristion.*

1 WEL bellach, f'enaid gwan,
Dystawa dan dy groes,
A gwel, yn angeu Calfari,
Oleuni dan bob loes,
Cais drysor yn y nef,
Gwna'th gartref gyda Duw;
Cei fwy na'r ddaear oll îs nen,
A'r nefoedd wèn i fyw.

2 Cei fanna ar dy daith,
A dysgu iaith y nef;
Ac esgyn ryw-bryd uwch y ser,
Yn ei gyfiawnder ef;
Cei ddwr o'r graig yn wyrth;
Ni syrth yr un o'r Saint:
O f'enaid, na fydd forwyn ffol,
I fod yn ol o'r fraint.

3 Ond rhodia gyda Duw,
A thi gei heddyw hedd;

Efe a'th arwain yn ei law,
I'th fraint tu draw i'r bedd:
O cais ei gynghor ef,
A chyfod lef i'r lan,
Am gael 'i arweiniad dan y rhod,
A'i gysgod yn mhob man.

4 'Nawr, O fy enaid, mwy,
Gwel, edrych yn y blaen,
A chadw'n gywir at y nôd,
Nes dod i Salem lân,
Nac edrych byth yn ol,
Ar bethau bydol barch;
Ymgadw yn yr anial dir,
Yn gywir gyda'r arch. R. J.

## HYMN CXXXII. (M. B. D.)

*Etholedigaeth gras.*

1 MAE 'R etholedig ryw
Yn rhwymyn Duw, bob rhai,
Sef rhwymyn cariad gwastad, gwir;
Yn gywir, sicr, sai';
Nid ing, neu gyfyng gur,
Nac angeu, eglur yw,
Nac un rhyw dywydd cystudd caeth,
All dori Arfaeth Duw.

2 Nid beiau 'r plant ychwaith,
Na'u holl amheuaeth hwy,
Oddiwrth eu Llywydd a'u pellha,
Nac a'u symuda mwy:
Fe fethodd uffern gynt,
A'i chorwynt blin a'i chas,
Ddiffoddi cariad Iesu cu,
Nac 'chwaith ddirymu ei ras.

3 Ca'dd Satan sigo'i siol;
A'i glol sydd dan ei glwy;

Heb obaith meddyg a'i iachâ,
  Na modd i'w wella mwy:
Ca'dd ei lywodraeth oll
  Gyd-deimlo'r archoll dwys,
A roddodd Iesu, ar y pren,
  I'w ben, a dirfawr bwys. E. J.



## HYMN CXXXIII. (8au.)

*Y Nefoedd.*

1 Y GOLEUNI sy'n ninas ein Duw
  Sy tu hwnt i amgyffred un dyn;
'Does neb all ei weled a byw,
  Ond y dorf ogoneddus ei hun:
'Dyw grisial yn ngolwg yr haul,
  Neu wydr f'ai lawer mwy pur,
I lewyrch y nefoedd ddim ail,
  Fy Iesu yw'r ffynnon yn wir.

2 Mae yno dri Pherson yn bod,
  Ac etto un sylwedd ond un,
Gogyfuwch mewn gallu a chlod,
  I wared plant Adda'n gytun:
Yn hyn rhyw ddyfnderoedd y sy,
  Rhy fawrion i chwilio hwy 'mlaen,
Yn drech nâ hwynt-hwythau sy fry
  I'w gwybod hwy allan yn lân.

3 'Does mesur amseroedd byth fry,
  Dim oriau cyffelyb i'r byd;
Myn'd heibio rhyw oesoedd y sy,
  Wrth ganu i'r Drindod yn nghyd:
'R holl nefoedd wrth weled ei ras,
  Sy'n synu yn canu'n fwy hy
Ganiadau newyddion eu blas;
  Wel, dyna'r digrifwch sydd fry! W. W.

## HYMN CXXXIV. (8au.)

*Caniadau tragwyddol.*

1 ANGYLION, seraphiaid, a saint,
Wrth ganu'n soniarus y'nghyd,
Eu hadsain sydd cyfuwch ei faint,
Mae'n crynu'r holl nefoedd i gyd:
Neb yno yn glaiar ei gân,
Neb yno'n addoli mewn rhith,
A'u c'lonau sy'n llosgi fel tân,
A gwynfyd a f'ai yn eu plith!

2 Caniadau newyddion sy fry,
Tebygwn o glywed eu llef,
Fy enaid blinedig i sy,
Am ddysgu cerddoriaeth y nef:
'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clod,
A'r parch, a'r gogoniant, a'r bri,
Yr awr hon fel ag y bu 'rioed,
I'n Harglwydd yn Un ac yn Dri!

3 Pan gofiont eu dyddiau yn y byd,
A'r amryw dymhestloedd o'r blaen,
Fe 'nynna eu hysbrydoedd hwy 'gyd,
Yn ffiamau angerddol o dân;
Gwel'd Iesu, er cymaint eu bai,
Eu codi o bydew mor ddu;
P'odd gall eu calonau hwy lai,
Na seinio Jerusalem fry? W. W.

## HYMN CXXXV. (8au.)

*Y Nefoedd.*

1 MAE'R lle sancteiddiolaf yn rhydd,
Fe rwygodd f'Anwylyd y llen;
Fe yw haul y cyfiawnder y sydd,
'N goleuo'r holl nefoedd uwchben;
Mae 'no dyrfa anfeidrol o faint,

Ac etto ni welai mo'r un,
'Mhlith 'ngylion, seraphiaid, a saint,
Neb fel fy Anwylyd ei hun.

2 'Ddaw syched, na newyn, na phoen,
Na gofid, na galar, na chlwy',
Nac anwyd yn nheml yr Ion,
Na gwres idd' eu blino byth mwy:
Mae yno adenydd fy Ion,
Yn taenu fel nefoedd ar led,
Yn cuddio priodasferch yr Oen,
O f'enaid, i fynu ehed!

3 Y Baradwys af iddi cyn hir,
Mae afon y bywyd yn hon,
Yn llifo fel grisial yn glir,
I ddiodi'r sychedig o'u bron,
Mae hefyd yn nghartre' fy Naf,
Afonydd o laeth ac o fel,
Wel bellach tuag yno mi af,
A deued hi fel ag y del. W. W.

## HYMN CXXXVI. (8au.)

*Hiraethu am y Nef.*

1 WRTH gofio'r Jerusalem fry,
Y ddinas preswylfa fy Nuw,
Y seintiau a'r angylion y sy,
Yn canu caniadau bob rhyw,
Am yno mae nhrysor i gyd,
Nghyfeillion a'm brodyr o'u bron,
Fy nghalon sy'n brefu o hyd,
Yn fuan am fyned i hon.

2 Fy enaid sychedig i sydd,
Wrth deithio dros fryniau mor faith,
Yn dysgwyl yn dawel bob dydd,
I gwrddyd a diwedd fy nhaith;
Fel darffo fy ngofid a ngwae,
Fy nhrallod, fy 'mlinder, a mhoen,

A dechreu'm gorfoledd didrai,
  Caniadau tragwyddol i'r Oen.

3 Mi gara f'anwylyd o hyd,
  Fy mhrynwr, fy mhriod, a'm pen,
O'r diwedd fe sugnodd fy mryd,
  O'r ddaear i'r nefoedd uwch ben,
Gwynfyd a fai'n gorwedd yn awr,
  Yn llonydd yn ngwaelod fy medd,
Mi godwn ar doriad y wawr,
  Yn fuan i weled ei wedd. W. W.

## HYMN CXXXVII. (8au.)

*Y goncwest ddiweddaf.*

1 PECHADUR wyf'r Arglwydd a'i gŵyr,
  Pechadur a garwyd yn rhad,
Pechadur a gliriwyd yn llwyr,
  Yn rhyfedd trwy rinwedd y gwaed,
Pechadur a orfu fyn'd trwy
  Ryw 'stormydd o ddyfroedd a thân,
Pechadur na orphwys byth mwy,
  Nes dringo i'r nefoedd yn lân.

2 Pryd hyny caf glywed y gair,
  Y gair sydd felysach nag un,
Yn seinio ffurfafen y nef,
  O enau f'anwylyd ei hun,
Dewch blant bendigedig fy Nhad,
  Dewch etholedigion i gyd,
Meddiennwch y deyrnas yn rhad,
  Bar'tow'd i'ch cyn seiliad y byd.

3 Er gofid a blinder o hyd,
  A rhwystrau bob mynyd o'r awr,
Er gelynion echryslon i gyd,
  Sy'n curo fy ysbryd i lawr,
Fy enaid lluddedig a ddaw,
  Trwy dymhest, trwy dònau, trwy dân,
Er gwaetha pob dychryn a braw,
  I'm cartref tragwyddol yn lân. W. W.

## HYMN CXXXVIII. (8au.)

*Trefn iachawdwriaeth.*

1 DATGUDDIWYD dirgelion i maes,
Dirgelion cuddiedig i'r byd,
Meddyliau trugaredd a gras,
I'r pena' bechadur i gyd;
A glow'd mewn addewid sydd gref,
Na welir fyth fythoedd ei hail,
O ddyfnder y ddaear i'r nef,
Mor gywir, mor sicr ei sail.

2 'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clod,
Y moliant a'r parch yn gytun,
O'r nefoedd i'r ddaear gaiff fod,
Yn gyfan i'm Harglwydd ei hun,
Aed swn dy farwolaeth i maes,
O'r dwyrain luosog i'r de',
Helaethed terfynau dy ras:
Mor belled ag cyrhaedd y ne'.

3 Aed ein Haleluia ni i'r lan,
Trwy'r awyr anfeidrol ei maint.
Cymysged caniadau rhai gwan,
A thyrfa luosog o saint;
Ni gawsom gan cymaint a'r byd,
Gan cymaint drachefen a hyn,
Gan cymaint a'r nefoedd i gyd,
Brydnawn gwaith ar Galfari fryn. W. W.

## HYMN CXXXIX. (8au.)

*Crist yn bob peth.*

1 CYFLAWNWYD y gyfraith i gyd,
Fe ddofwyd ei llid heb fy lladd;
Cyfiawnder wrth hir ofyn iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd;

Cyfiawnder a'r gyfraith sy'n awr,
Yn edrych i lawr yn ddi-lid;
Mae'r Priodoliaethau mewn hedd
Yn gwaeddi trugaredd i gyd.

2 Ein hymborth, ein cymhorth, a'n cân,
Y'ngwyneb deddf burlan, a'r bedd;
Ein trysor, ein hallor, a'n nerth,
Oen pridwerth, ein haberth, a'n hedd;
Ein T'wysog galluog, a llawn;
Ein Iawn, i ddeddf gyfiawn ddi-goll;
Ein Brenin, a'n Prophwyd, mewn bri,
Mae'n babell i ni oll ac yn oll.

E. J.

## HYMN CXL. (8au.)

*Angladd y Cristion.*

1 MAE'N Brawd wedi gorphen ei daith,
Ei lafur a'i waith yr un wedd;
A Christ wedi talu ei ddylêd;
Mae'n addfed i fyned i'w fedd:
Caiff gysgu hun dawel, nes dod,
Ryw ddiwrnod, heb bechod, yn bur,
O'r beddrod, yn hynod mewn hedd;
Heb ffaeledd, na chamwedd, na chur.

2 'Ddaw gwewyr na dolur, na dîg,
Na gelyn, na pheryg' na phoen,
I'w flino'n yr ardal lle trîg,
Y'nghwmni caredig yr Oen:
Dim achos i wylo ni wêl;
Mae'n sicr ddïogel na ddaw
Dim oerni'n ei gariad, na'i zel;
Mae'n dawel, heb ryfel, na braw.

3 Ymdrechodd hardd ymdrech y ffydd,
Er uffern fawr beunydd, a'r byd;
Gorphenodd ei yrfa, mae'n rhydd;
Gadawodd ei gystudd i gyd;

Mae bellach yn holl-iach mewn hedd,
  O gyr'edd ei lygredd, yn lân;
Dim tristwch i'w feddwl ni fydd;
  Hosanna'n dragywydd a gân. E. J.

## HYMN CXLI. (8au.)

*Prynwr byw.*

1 MI wn fod fy mhrynwr yn fyw.
  A'm prynodd a thaliad mor ddrud;
Fe saif ar y ddaear, gwir yw,
  Yn niwedd holl oesoedd y byd:
Er ised er gwaeled fy ngwedd,
  Teyrnasu mae Mhrynwr a Mrawd,
Ac er fy malurio'n y bedd,
  Cai weled Ef etto'n fy nghnawd.

2 Wel, arno bo'm golwg bob dydd,
  A'i daliad anfeidrol o werth;
Gwir Awdwr, Perffeithydd ein ffydd,
  Fe'n cynnal ar lwybrau blin serth:
Fy enaid ymestyn yn mlaen,
  Na orphwys nes cyrhaedd y tir,
Y Ganaan dragwyddol ei chân,
  Y Sabbath hyfrydol yn wir. T. J.

## HYMN CXLII. (8au.)

*Buddugoliaeth Crist.*

1 PWY welaf o Edom yn dod,
  Mil harddach na thoriad y wawr,
Yn sathru tan wadn ei droed,
  Elynion yn lluoedd i'r llawr:
Ei wisg wedi ei lliwio gan waed,
  Ei saethau a'i gleddyf yn llym,
Ei harddwch yn llenwi'r holl wlad,
  Yn ymdaith yn amlder ei rym.

Dywedaf, Fy noddfa yw'm Ner,
A'm tyner waredwr yw'r Ion,
Ac ynddo gobeithiaf heb baid,
Am dano fy enaid a sôn.

2 Nid ofni rhag dychryn y nos,
A'r saeth ni ddaw'n agos liw dydd;
I'th gadw di 'mlaen ac yn ol,
Ei aden anfeidrol a fydd,
Rhag haint a'r dinystrydd, dy Nêr,
A'i Aden, fydd dyner i'th doi;
A'i Enw, dy gastell di gel,
A'th noddfa ddiogel i ffoi.

3 Cwymp mîl wrth dy ystlys i'r llwch,
Syrth myrddiwn wrth d'ochr i'r llawr,
A thithau ni chyffwrdd un pla,
Can's Duw yw dy noddfa di'n awr.
Yn unig canfyddi fod tâl,
A dïal am bechod, ryw ddydd:
Er uched yw'r anwir a'i ffroen,
Ymddiffyn i'r beilchion ni bydd.

4 O herwydd it' wneuthur yr Iôn,
Yr Arglwydd goruchaf, dy nyth,
Dy noddfa, dy gartref digel,
A'th breswyl diogel am byth,
Dim niweid ni ddygwydd i ti,
Na phla i dy boeni ni bydd,
Cysgoda dy babell yn llon,
Tan fendith ei roddion a rydd.

5 Angelion y nefoedd, yn llu,
A warchod oddeutu dy ffyrdd;
Gorchymyn a ddyry'n dy gylch,
Ehedant o'th amgylch di'n fyrdd,
Rhag llithro, na tharo dy droed,
Mor hynod eu gofal i gyd;
Hwy'th ddygant yn dyner a doeth,
A'u dwylaw angylaidd y'nghyd.

6 Ac arnaf y geilw mewn ing,
Gwrandawaf, gwaredaf y'nghyd,
A chydag ef byddaf yn blaid,
Digonol i'w enaid o hyd.
Gogoniant, anrhydedd, hir oes,
Digonaf ei einioes â hedd;
Trwy rym iachawdwriaeth ddidranc,
Y dianc o feddiant y bedd.

R. J.

## HYMN CXLVI. (8au.)

*Breniniaeth Crist.*

1 CRIST Iesu o'r dyfnder a ddaeth,
Mewn llawn fuddugoliaeth ar goedd;
Uwch thronau'r gogoniant i gyd,
Efe a ddyrchafwyd â bloedd:
Ar orsedd deheulaw y Tad,
Mae'n uchel ei alwad yn awr;
Nid rhaid iddo chwysu byth mwy,
Wrth fwrw'i elynion i lawr.

2 O Sïon yr enfyn yr Ion,
Ryw eglur arwyddion o'i nerth;
Ac ar ei elynion fe fydd
Llywodraeth Preswylydd y berth.
A'i eiddo a edwyn ei lais,
Fel bugail y cais hwynt i gyd;
Mor iraidd ac amal â'r gwlith,
Daw meibion y fendith y'nghyd.

3 O groth y goleuni gwel hâd,
Trwy rinwedd ei alwad a'i ras;
Mewn harddwch sancteiddrwydd ar goedd,
Yr enfyn ei luoedd i maes.
Mor amled mor laned â gwlith,
Hiliogaeth y fendith a fydd;
I ddofi gwylltfilod y daeth
*Trwy nerth* iachawdwriaeth a'i dydd.

4 Offeiriad tragwyddol a fydd,
Fe dyngodd yr Arglwydd i hyn,
Heb newid ei ddyben a ddwg—
A'i olwg ar Galfari fryn.
'Nol urddas trag'wyddol cyn byd,
Bydd Arglwydd y bywyd yn bèn;
A'i harddwch trag'wyddol a fydd,
Heb gwmwl, na gorchudd, na llèn.

R. J.

## HYMN CXLVII. (9. 8.)

*Mawl am fuddugoliaeth Calfaria.*

1 O AGOR fy llygaid i weled,
Dirgelwch dy arfaeth a'th air,
Mae'n well i mi gyfraith dy enau,
Na miloedd o arian ac aur;
Y ddaear â'n dân a'i thrysorau,
Ond geiriau fy Nuw fydd yr un;
Y bywyd tragwyddol yw 'nabod,
Fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn.

2 Rhyfeddod a bery'n ddiddarfod,
Yw'r ffordd a gymerodd efe,
I gadw pechadur colledig,
Trwy farw ei hun yn ei le!
Fe safodd fy Mrenin ei hunan,
Gorchfygodd awdurdod y ddraig,
Ein Samson galluog ni ydyw:
O caned preswylwyr y graig.

3 Daeth blwyddyn y caethion i ganu,
Doed meibion y gaethglud y'nghyd,
Ni seiniwn trwy'r nefoedd a'r ddaear,
Ogoniant i Brynwr y byd:
Mae Brenin y nef yn y fyddin,
Gwae satan a'i filwyr yn awr,
Trugaredd a hedd sy'n teyrnasu,
*Gogoniant* trwy'r nefoedd a'r llawr.

4 Y llew o lwyth Juda, gorchfygodd,
Pa elyn all sefyll o'i flaen?
Mae Sïon yn teithio tuag adre,
Mewn cerbyd dychrynllyd o dân;
Bydd miloedd o saint ac angelion,
Yn dorf ogoneddus y'nghyd,
Yn canu rhyw Anthem dragwyddol,
O ogoniant i Brynwr y byd. M. R.

## HYMN CXLVIII. (9. 8.)

*Dysgwyliadau'r Cristion.*

1 O FRYNIAU Caersalem ceir gweled,
Holl daith yr anialwch i gyd;
Pryd hyny daw troion yr yrfa,
Yn felys i lanw ein bryd:
Cawn edrych ar stormydd ac ofnau,
Ac angeu dychrynllyd a'r bedd,
A ninau'n ddiangol o'u cyrhaedd,
Yn nofio mewn cariad a hedd.

2 Cawn esgyn o'r dyrys anialwch,
I'r beraidd Baradwys i fyw;
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys,
Yn dawel ar fynwes ein Duw:
Diangfa dragwyddol geir yno,
Ar bechod, cystuddiau a phoen,
A gwledda i oesoedd diderfyn,
Ar gariad annhraethol yr Oen.

3 Mae ffrydiau gorfoledd yn tarddu,
O ddysglaer orseddfainc y ne';
Ac yno esgynodd yr Iesu,
Ac yno yr eiriol efe;
Y gwaed a foddlonodd gyfiawnder,
Daenellwyd ar orsedd ein Duw,
Sydd yno yn beraidd yn erfyn,
*I ni y troseddwyr gael byw.* D. C.

## HYMN CXLIX. (9. 8.)

*Dyfroedd gras.*

1 O ARWAIN fy enaid i'r dyfroedd,
Y dyfroedd sy'n afon mor bur,
Y dyfroedd a dorant fy syched,
Er trymed fy nolur a'm cur;
Y dyfroedd trag'wyddol eu tarddiad,
Y dyfroedd sy' heb waelod na thrai,
Y dyfroedd a olchant fy enaid,
Er dued, er amled fy mai.

2 Da iawn i bechadur fod afon,
A ylch yr aflanaf yn wyn;
Hi darddodd o'r nefoedd yn gyson,
Hi ffrydiodd ar Galfari fryn;
Hi lifodd i'r anial cenedlig,
Hi olchodd fil miloedd yn lân,
Hi ylch ei miliynau'n llwyr gànaid,
Cyn rhoddi llawr daear ar dân. T. J.

## HYMN CL. (9. 8.)

*" Crist yw diwedd y ddeddf."*

1 YN Sïon mae cyfraith ragorol,
Gan Dduw yno'n rheol fe'i rhoed;
Un weddus, ddaionus i ddynion,
Ni bu deddf mor union erioed:
Dim mwy na dim llai na chyfiawnder,
Ni ofyn, ni chymer ychwaith;
Heb fod gyda'r Iesu mewn undeb,
Ni dderbyn ein gwyneb na'n gwaith.

2 Pe byddai fy ngolwg yn berffaith,
Mi welwn y gyfraith bob gair,
Mor eglur y gallwn bob mynyd,
Ei ddarllen yn mywyd Mab Mair:
Ac hefyd wrth ddarllen y gyfraith,
Mi welwn Dduw perffaith heb ball;
Os Iesu neu'r gyfraith a welwn,
*Y naill* a ddarllenwn drwy'r llall.

3 Dan sel y cyfammod y'n dygwyd,
I Grist fe'n bedyddiwyd â dwr;
Wrth Iesu byth glynwn mewn proffes,
Fel gwraig a fo'n gynes i'w gŵr;
Fe'n galwyd gan Dduw i sancteiddrwydd;
Ein bedydd glân arwydd in' yw;
Milwriwn dan faner ein Brenin,
Fe geidw'i holl fyddin yn fyw. P. J.

## HYMN CLIV. (M. H. D.)

*Rhinweddau'r groes.*

1 I BLE'R âi 'mofyn heddwch drud?
At bwy greadur yn y byd?
Pwy laesa 'mhoen! pwy dŷn fy maich?
Nid marwol, ddynol, gnawdol fraich;
Neb ond tydi fu ar y pren,
Yn dyodde' rhwng y ddae'r a'r nen,
Mil mwy na'r byd yw dafnau'th waed
I roi i'm hysbryd esmwythâd.

2 Fe bwysa gwaed dy groes fy mai,
Er cyd o amser mae'n parhau,
Er cynddeirioced yw ei ryw,
Ac er mor ddued yw ei liw;
Duw ydwyt ti, mae mynyd awr,
O'th wasgu tan y groes i lawr,
Yn fwy ei bris ceir gwel'd ryw bryd,
Na holl bechodau ffieiddia'r byd.

3 O dere i ben ddedwyddaf ddydd,
A gad i'm hysbryd fyn'd yn rhydd,
Rho brawf, rho brawf, ar frys i mi,
O ddwyfol haeddiant Calfari;
Fel gallwyf rodio'n ddinacad,
Tan awel hyfryd rin y gwaed,
A threulio'm hamser ddydd a nos,
*Mewn myfyr am dy angeu loes.* W. W.

## HYMN CLV. (M. H. D.)

*Daioni cystudd.*

1 MAE'N perthyn i mi bob rhyw bla,
O'r pridd y des, i'r pridd yr â',
Fe ŷr cystuddiau maith ryw bryd,
Fy enaid llesg i maes o'r byd;
Ac mi gaf yn mhob chwerw loes,
I wel'd yr hwn fu ar y groes,
A chael cydymaith yn mhob man,
A ddeil fy ysbryd llesg i'r lan.

2 Fy enaid tua'r nefoedd 'hed,
A thaen dy galon yno ar led,
A doed cystuddiau mewn yn lli,
Mi a'u tafla i dy fynwes di;
'Does unrhyw ofid, unrhyw boen,
Na wasgodd ar yr addfwyn Oen,
Ac yn ei ofid ef a'i gri,
Mae holl esmwythder fy enaid i.

3 Mi wn mae'm beiau duon drud,
Yw'r achos o'm cystuddiau gyd,
Symud fy mai, fe gwymp y ffon,
O'th sanctaidd law y fynyd hon;
'Does yn dy galon ond lleshad,
Maddeuant, hedd, a gwir iachad,
Cymer dy ffordd, ynot yr wyf
Yn credu'n awr, iachâ fy nghlwyf. W. W

---

## HYMN CLVI. (M. H.)

*Newyddion da.*

1 NEWYDDION braf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go';
Mae'r Iesu wedi cario'r dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

2 Mae Iesu Grist o'n hochor ni,
Fe gollodd ef ei waed yn lli';
Trwy rinwedd hwn fe'n dwg yn iach,
I'r ochor draw 'mhen gronyn bach.

3 Wel, f'enaid weithian cod dy ben,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd wen;
Mae'n gelynion oll i gyd yn awr,
Mewn cadwyn gan y Brenin mawr.

W. W.

## HYMN CLVII. (M. H.)

*Cariad Crist.*

1 WEL Iesu garaf yn ddilai,
Efe a'm gwared i o'm gwae;
Fy Mhrïod hynod yw o hyd,
A'm cyfaill goreu yn y byd.

2 Doed fel y dêl, mi a'i cara o hyd,
Dan bob rhyw drallod yn y byd,
Yn nydd y farn, yn angeu chwith
Mi a'i caraf yn y nefoedd byth.

3 Pan syrthio'r sêr fel ffigys îr,
Pan ferwo'r môr, pan losgo'r tir;
Pan droir yr haul, a'r lloer yn ddu,
Pryd hyn mi gara Mhrynwr cu.

4 Tra caffwyf rodio'r ddaear hon,
Rho'th hedd fel afon dan fy mron;
Ac yn y diwedd moes dy law,
I'm ledio i mewn i'r nefoedd draw.

W. W.

## HYMN CLVIII. (M. H.)

*"Chwant i'm dattod."*

1 YN ddystaw dysgwyl f'enaid prudd,
O'r diwedd daw, neshau mae'r dydd,
Pan câf roi naid i'm nefol nyth,
*Lle byddaf* byw yn berffaith byth.

2 Mi flinais fod mewn anial fyd,
Am fyn'd 'rwy'n glau i'm cartre' clŷd,
Lle'r aeth o'm blaen i Frenin ne',
Ac yn ei lys gwnaeth i mi le.

3 Lle na bydd brâd i'm mwy, na briw,
Nac ŵylo i neb, yn nhŷ fy Nuw;
Ond gorphwys byth mewn gwledd ddiboen,
Gan edrych ar y nefol Oen.

4 Taw, f'enaid mwy, 'dyw'r ffordd ddim maith,
I dŷ fy Nhâd, i ben fy nhaith;
Bydd foddlon, cai, fy enaid cu,
Nofio yn frau i'r nefoedd fry.

5 Ar fyr bydd lle im' uwch y llen,
Câf ddedwydd wawdd i'r nefoedd wen;
Angylaidd wledd mewn nefol wlad,
O fanna tŷ fy Nuw a'm Tad.

6 Lle byddai y'mhlith y sanctaidd lu,
Yn seinio cân i'm Harglwydd cu;
Yn berffaith lân heb bechod mwy,
Oll yn gyffelyb iddynt hwy.

W. W.

## HYMN CLIX. (M. H.)

*Hiraeth am burdeb.*

1 DAL fi fy Nuw, dal fi i'r lan,
'N enwedig dal fi lle 'rwy'n wan:
Dal fi yn gryf nes myn'd i maes,
O'r byd sy'n llawn o bechod câs.

2 Bryd cai ddinystrio'm delwau'n llawn,
Sy am lechu danai'n ddirgel iawn:
Llabyddio Agag yn ddi barch,
A Dagon gwympo o flaen yr Arch.

3 O anwyl Iesu brysia bydd,
Yn awr fel iwrch neu lwdn hŷdd,

O tyr'd ar frys a chluda i lawr,
Fy holl elynion fach a mawr.

4 Can mîl o weithiau gwyn fy myd,
Gai goncwest ar fy meiau i gyd;
Gael bod yn bur trwy nefol ras,
A darfod son am bechod cas.

W. W.

## HYMN CLX. (M. H.)

*Erfyn am faddeuant.*

1 PECHADUR wyf, da gŵyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw;
Yn byw mewn eisieu o waed y groes,
Bob mynyd awr o'r dydd a'r nos.

2 Gwn mai rhinweddol yw dy waed,
I bledio'm hawl o flaen y Tad;
A chlirio'm ffordd at orsedd gras,
A blotio meiau mwya' maes.

3 Maddeuaist ganwaith, maddeu hyn,
O Arglwydd càna fi etto'n wyn:
Rho i mi dyst f'anwylyd cu,
I'm clirio yn y nefoedd fry.

4 O cofia fi ger bron y Tad,
A dangos iddo werth dy waed;
O pledia'n awr y'nghanol ne',
I ti roi'th fywyd yn fy lle.

W W.

## HYMN CLXI. (M. H.)

*Gwagedd y byd.*

1 NID oes un gwrthddrych yn y byd
Sydd deilwng o fy serch a'm bryd;
Mae tynfa f'enaid cànaid cu,
*At drysor tragwyddoldeb fry.*

2 Pe cawn y byd i gyd yn grwn,
A byw flynyddau fil yn hwn;
Ni fyddai hyn ond gofid blin,
Heb gaffael ffafr Duw ei hun.

3 Beth dâl im' roi fy serch a'm bryd,
Ar ddim a welai yn y byd;
Da, daear, dwr, pa gysur yw,
Y dydd y del digofaint Duw.

4 P'am carai'r byd a'i dda yn hwy,
Ond dyma wrthddrych llawer mwy?
A dâl ei garu tra ynof chwyth,
A thragwyddoldeb wedi'n byth.

W. W.

## HYMN CLXII. (M. H.)

*Erfyniad am oruchafiaeth.*

1 GWEDDIO 'rwyf' och'neidio yn brudd,
Rhyfela yn deg am gael y dydd;
Lleng sydd o fewn, llu sydd o faes,
O'ffernol griw am faeddu'm gras.

2 O nertha f'enaid gwan ei ffydd,
'Roi ofal arnat ti bob dydd;
Heb flino 'nghylch amseroedd draw,
Y rhai o bosib' byth ni ddaw.

3 Gronyn o'th hedd a'th gariad drud,
A etyb fy nghystuddiau gyd;
Ond rhyfedd iawn y rhinwedd sy
Mewn lleiad gradd o'r nefoedd fry.

4 Ei ganmol bellach wnâf o hyd,
Heb dewi mwy tra yn y byd;
Dechreuais gân a bery'n hwy,
Nag y ceir diwedd arni mwy.

W. W.

## HYMN CLXIII. (M. H.)

*Crist a Phechadur.*

1 DYMA gyfarfod hyfryd iawn,
Myfi yn llwm a Iesu'n llawn;
Myfi yn dlawd heb feddu dim,
Ac yntau'n rhoddi pob peth im'.

2 Dyma fi Iesu, fel yr wy',
Cuddia fi yn dy nefol glwy';
Can's dyna'r graig y gwnaf fy nyth,
Does neb yn ofni yno byth.

3 Melys fel manna'r nefoedd fry,
Yw hyfryd hedd f'anwylyd cu;
Mwynhad o'i gariad ef a'i ras,
Na'r diliau mel sy'n well ei flas.

4 Gâd i mi dreulio'm dyddiau i gyd,
I edrych ar dy wynebpryd,
Difyru'm hoes o awr i awr,
I garu fy Eiriolwr mawr.

W. W.

## HYMN CLXIV. (M. H.)

*Rhedeg yr yrfa.*

1 RHEDWN ar frys mawr yw y fraint,
Y nef yw diwedd gyrfa'r saint,
Er maint yw'r llîd par'towd ein lle,
Yn mynwes Naf o fewn i'r ne'.

2 Mi âf y'mlaen er pelled yw,
I'r wlad 'rwyf am fyn'd iddi fyw;
O'r diwedd tiria'm henaid gwan,
O ddyfnder moroedd mawr i'r làn.

3 Saint orfoleddant bob yr un,
Pan welont arwydd Mab y Dyn;
*Fel bore* wawr o'r dwyrain draw
*Sy'n dangos fod* yr haul gerllaw. W. W.

## HYMN CLXV. (M. H.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 DOWCH addewidion, dowch yn awr,
Dyhidlwch eich trysorau lawr:
Myrddiynau ar fyrddiynau sydd,
Yn dysgwyl am eich bore ddydd.

2 Doed gogledd, dê, a dwyrain bell,
I glywed y newyddion gwell;
Aed swn d'Efengyl Iesu 'maes,
Yn gylch o ddeutu'r ddaear lâs.

3 Llama fel hŷdd tros fryniau pell,
Cyflawna'r addewidion gwell;
O galw'd etholedig hâd,
I brofi rhagorfreintiau'th waed.

W. W.

## HYMN CLXVI. (M. H.)

*Mawl am drysorau gras.*

1 BENDIGAID fyth fo enw Duw,
'R hwn wnaeth fy enaid marw'n fyw;
Ac a'm cyfododd fel o'r bedd,
I gael mwynhau ei ras a'i hedd.

2 Pan 'ro'wn yn gorwedd yn fy ngwaed,
Edrychodd Duw o'r nef yn rhad,
A dywedodd yn dy waed bydd fyw:
Rhof iddo glod, fy nyled yw.

3 Rhyfeddu'r wyf i'r coelbren ddod,
A'r nefoedd wen i'm rhan erioed:
Os yno'r âf mi gara'r gwaith,
O ganu i dragwyddoldeb maith. W. W.

## HYMN CLXVII. (M. H.)

*Profiad y Cristion.*

1 Y GRAS, yr hedd, a'r purdeb oll,
Roed i'm yn Eden aeth ar goll;

'Does gweithred dda yn eiddo fi,
All gleimio hawl i'r nefoedd fry. W. W.

## HYMN CLXXI. (M. H.)

*Y Cyfaill goreu.*

1 YN fynych fynych Iesu cu,
Datguddia'th fod yn eiddo i mi;
Mewn 'stormydd mawr yn wastad gad,
I'm ddysgu llefain Abba Dad.

2 Yr Oen a laddwyd ydyw rhan,
A holl hyfrydwch fy enaid gwan:
Fy Mrawd a Mhriod fydd e' mwy,
Yn mhob cyfyngder elwy' trwy.

3 Wrth droi fy ngolwg yma lawr,
I gyrau'r holl gre'digaeth fawr;
Gwrthddrych ni wel fy enaid gwan,
Ond Iesu i bwyso arno'n rhan.

4 Pwy wrendy ruddfan f'enaid gwan,
Pwy'm c'od o'm holl ofidiau i'r làn?
Pwy garia'm baich fel Brenin ne',
Pwy gydymdeimla fel efe.

5 Wel, dyma un, O d'wedwch ple,
Y ffeindir arall fel efe;
A bery'n ffyddlon im' o hyd,
Y'mhob rhyw drallod yn y byd. W. W.

## HYMN CLXXII. (M. H.)

*Uchelgais y Cristion.*

1 O IESU mawr y Meddyg gwell,
Gobaith yr holl ynysoedd pell;
Dysg fi i seinio maes dy glod,
*Mae digyfnewid* wyt erioed.

2 Fe gaiff dy Enw anwyl glod,
Pan ddarffo i'r nef a'r ddaear fod,
Am achub un mor wael ei lun,
Nad all'sai ei achub ond dy hun.

3 Rho i mi wel'd mai ti yw'm hedd,
A llwyr ddifyru ar dy wedd;
A chym'ryd d'eiriau gwerthfawr drud,
Yn unig bleser yn y byd.

4 O hoelia 'meddwl ddydd a nos,
Crwydredig wrth dy nefol groes;
A phlana'm hysbryd yn y tir,
Sy'n llifo o lawenydd pur. W. W.

## HYMN CLXXIII. (M. H.)

*Dymuniad am y nef.*

1 OND ofer ceisio gwynfyd llawn,
Can's gwynfyd perffaith byth nis cawn,
Nes cyrhaedd at ein Prynwr pur,
A sengu ar y sanctaidd dir.

2 Ond teimlo ei hedd a'i fywiol ras,
Yw'r nefoedd sy ar y ddaear las;
A'm nefoedd fyth yn nef y nef,
Fydd edrych yn ei wyneb Ef.

3 Pan ddysgwyf 'nabod iaith y wlad,
A phur ganiadau tŷ fy Nhad;
Dechreuaf gân am farwol glwy,
Na chlywir diwedd arni mwy. W. W.

## HYMN CLXXIV. (M. H.)

*Cwynfan y Cristion.*

1 DOES arnaf eisiau yn y byd,
Ond golwg ar dy haeddiant drud;

A chael rhyw brawf o'th nefol rin,
I 'mado'n lân â mi fy hun.

2 Er bod dy haeddiant gwerthfawr drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd,
Yn rhyw anfeidrol berffaith Iawn,
Rwy'n methu gorphwys arno'n llawn.

3 O flaen y drugareddfa fawr,
Yn trengu wrth dy draed i lawr,
Gwel y pechadur dua gaed,
Yn brefu am rinweddau'th waed.

4 Mae gras yn rhyw anfeidrol stôr,
A doniau ynot fel y môr;
O gâd i druenusaf ddyn,
Gael profi gronyn bach o'i rin.

5 Haul y cyfiawnder dysglaer cu,
Tywyna trwy bob cwmwl du;
O tan dy esgyll dwyfol mae,
Y Balm o Gilead sy'n iachâu. W. W.

## HYMN CLXXV. (M. H.)

*Haeddiant Crist.*

1 WRTH edrych Iesu ar dy groes,
A meddwl dyfnder d'angeu loes;
Pryd hyn 'rwyf yn dibrisio'r byd,
A'r holl ogoniant sy ynddo i gyd.

2 Na âd fi 'mddiried tra b'wyf byw
Ond yn dy angeu di fy Nuw;
Dy boenau a dy farwol glwy,
Gaiff fod yn ymffrost i mi mwy.

3 O feiau mawr beth all'sech fwy
Na rhoddi i Frenin nefoedd glwy,
Lladd'soch yr Oen, fe drodd y rhod,
Mae dydd eich dial, chwi yn dod.

4 Edrychwch arno dyma'r Dyn,
A phwy oedd ef ond Duw ei hun;
Pechodau'r holl grediniol fyd,
A bwysodd ar ei 'sgwyddau y'nghyd.

5 Tystiodd fy Nuw o ganol nef,
Ce's lawn foddlondeb ynddo ef;
A bod ei saint o fawr i fân,
Yn haeddiant Iesu oll yn lân. W. W.

## HYMN CLXXVI. (M. H.)

*Y Cristion yn Peniel.*

1 YN Peniel 'rwyt, fy enaid clyw,
Ymdrecha'n deg âg angel Duw,
Pwy ŵyr na's cai cyn tori'r wawr,
Wir etifeddu'r fendith fawr.

2 Mi âf y'mlaen er t'wylled yw,
I'r wlad 'rwy am fyn'd iddi fyw;
Fe gwyd y wawr mae 'ddewid bur,
O wel'd fy nghartre' cyn bo hir.

3 Ond boed fy nghlustiau'n gwrando o hyd,
Ddirgelion dystaw nefol fyd;
A'm pleser unig ddydd a nos,
Yn nyfnion wirioneddau'r groes.

4 Pan gaffwyf wel'd dy nefol wedd,
A phrofi blas dy ddwyfol hedd;
Rwy'n gwel'd gogoniant mwya'r byd,
Fel peth annheilwng o fy mryd. W. W.

## HYMN CLXXVII. (M. H.)

*Rhyfeddodau'r groes.*

1 MAE rhyw ddirgelwch llawer mwy,
Oes Iesu yn dy farwol glwy;
Nag y gall sant tra ynddo ohwyth,
Na seraph pur ei ddeall byth.

2 O holl weithredoedd nef yn un,
Y benaf oll oedd prynu dyn;
Rhyfeddod mwyaf o bob oes,
Yw'm Iesu'n hongian ar y groes.

3 Os daw y gyfraith yn ei grym,
A gofyn am berffeithrwydd im';
'Does geny' ond dangos angeu loes,
A gwaed yn llifo ar y groes.

4 Ni cheisiaf loches ond dy glwy,
Tan dònau mawrion fwy na mwy;
Mae'th waed yn nyfnder culni a gwae,
Yn abl fy rhoi i lawenhau.

5 Y mae hapusrwydd pawb o'r byd,
Yn gorphwys yn dy angeu drud;
Hyfrydaf waith angylion fry,
Yw canu am fynydd Calfari. W. W.

## HYMN CLXXVIII. (M. H.)

*Angeu a'r bedd.*

1 PA'M carai'r byd na'i wagedd mwy?
Hyd angeu'n brin y deuant hwy;
Gwell genyf garu'r ffrynd a ddaw,
Yn angeu i 'maflyd yn fy llaw.

2 Pan byddwy'n myn'd o'r byd i maes,
Yn siglo llaw âg angeu glas;
Pryd hyn pwy help fy enaid gwan,
I ddringo o'r anial fyd i'r lan?

3 O'r dywyll wlad pan bwy'n myn'd,
Fy Iesu fydd fy ffyddlon ffrynd,
Pa frawd, pa chwaer, pa gyfaill gwell,
Ddaw'm hebrwng i'r ardaloedd pell.

4 O cofia fi pan b'wy'n y bedd,
A chasgla'm llwch i'r lan mewn hedd;
O arddel fi'n y farn a ddaw,
A gosod fi ar dy ddeheulaw. W. W.

## HYMN CLXXIX. (M. H.)

*Y farn.*

1 WEL dacw'r Brenin mawr yn dod,
Mewn rhwysg na welodd neb erioed;
Mae angeu ac uffern fawr a'r bedd,
Yn ofni edrych ar ei wedd.

2 Fe lysg y byd yn ulw mân,
Fe drŷ'r grëedigaeth fel o'r blaen;
Cwymp y planedau er eu maint,
Bydd Iesu'n Frenin ar ei saint.

3 Mi wela'n codi'r seren ddydd,
Mi glywa'r canu yno fydd;
Angelion gyda'r saint yn un,
Yn cadw cwm'ni Mab y Dyn.

W. W.

## HYMN CLXXX. (M. H.)

*Duw a Digon.*

1 TYDI fy Nuw, tydi i gyd,
Yw'r cwbl feddai yn y byd;
Yr wyt ti'n well, yr wyt ti'n well,
Na'r India bell, a'i pherlau drud.

2 Mae'r fynyd leiaf fach o'r awr,
I garu fy Iachawdwr mawr,
Yn well rhyw ddydd, yn well rhyw ddydd,
Na'r cwbl sydd o dan yr haul.

3 Aed heibio'm dyddiau bob yr un,
Wrth garu'm Crewr mawr yn Ddyn;
Fy enaid cân, fy enaid cân,
I'th Brynwr glân, a dos i'r bedd. W. W

## HYMN CLXXXI. (M. H.)

*Syched am y Nef.*

1 YN mhell uwch swn daearol fyd,
Mae fy nhrysorau oll i gyd:
Y wlad lle mae, y wlad lle mae,
Rhyw fôr didrai o berffaith hedd.

2 Wel dacw'r man tra paro chwyth,
Sycheda' am fod ynddo byth;
Fe dry fy ngwae, fe dry fy ngwae,
Yn llawenhau yn nhŷ fy Nhad.

3 Mi gofiaf yno am y dydd,
Y rhoed fy llyffetheiriau'n rhydd;
Ac am y gair, ac am y gair,
Dedwyddaf bair ei gofio byth.

4 O ddedwydd, hapus, berffaith le
Mae f'enaid eisoes ynddo fe!
Cwmpeini Nuw, cwmpeini Nuw,
Yw'r cyfan yw sydd yno i gael. W. W.



## HYMN CLXXXII. (M. H.)

*Llawenychu mewn gobaith.*

1 O FEWN i'r anial dyrys maith,
Yn dysgwyl hyfryd ben fy nhaith:
'Rwy'n gwel'd yn wir, 'rwy'n gwel'd yn wir,
Yr oriau'n hîr, heb dy fwynhau.

2 Yn nyfnder pob rhyw drallod, mae
Un radd o'th wedd yn llawenhau:
Dyddanwch sy, dyddanwch sy,
Yn d'wyneb cu, sydd fwy na'r byd.

3 Mwy yw fy mhleser, mwy fy rhodd,
A mwy mae f'enaid wrth ei fodd,
I wel'd dy wedd, i wel'd dy wedd,
A phrofi'th hedd, na'r byd i gyd.

4 Ffarwel i oll feddylia i fod,
Yn hyfryd yma îs y rhôd;
Nid da, nid dyn, nid da, nid dyn,
Ond Iesu ei hun, sy'n fwy na'r nef.
W. W

## HYMN CLXXXIII. (M. H.)

*Yr achos Cenadol.*

1 O NA ddoi dydd yr India i ben,
I wel'd yr hwn fu ar y pren;
A ninau'n un, yn un â hwy,
Yn canu am ei farwol glwy.

2 O doed i ben hwnw yw'r dydd,
Nid goleu, ac nid tywyll fydd,
Nid dydd, nid nos, a Duw a'i gŵyr,
Pan dardd goleuni yn yr hwyr.

3 O dere i ben hapusaf ddydd,
Darfydded sôn am bethau sydd;
Na'r byd, na'i rwysg, na'i wae, na'i boen,
Ond canu byth am waed yr Oen.

4 O na foed ardal cyn bo hir,
O'r dwyrain draw i'r dehau dîr;
Na byddo'r iachawdwriaeth ddrud,
Yn llanw cyrau rhai'n i gyd.

W W.

## HYMN CLXXXIV. (M. H.)

*Ffordd newydd.*

1 FFORDD newydd wnaed gan Iesu Grist,
I basio heibio i uffern drist,
Wedi ei phalmantu ganddo 'fe,
O ganol byd i ganol ne'.

2 Agorodd ef yn lled y pen,
Holl euraidd byrth y nefoedd wen,
Roi rhyddid yw gariadau ef,
I mewn i holl drigfanau'r nef.

3 Pa'm'r ofnwn dragwyddoldeb mwy;
Pa'm'r ofnwn forio atynt hwy?

Y rhai i'n tyb a glywn yn bêr
Yn canu heddyw uwch y sêr.

4 Os tonau gawn a 'stormydd chwith,
Mae Duw o'n tu, ni foddwn byth;
Credwn yn gryf down maes o law,
Yn iach i'r lan yr ochor draw. W. W.

## HYMN CLXXXV. (M. H.)

*Cymanfa o Weinidogion.*

1 'RYM yn dy erfyn, Arglwydd mawr;
Disgyn o entrych nef i lawr,
'Rhyd ysgol faith Jehofa'n ddyn,
'Roi bendith Jacob i bob un.

2 Gwna ni fel halen â dy râs,
Yn wyn, yn beraidd iawn ei flâs;
Yn foddion yn dy law o hyd,
I dynu'r adflas sy ar y byd.

3 Fel ŵyn yn wirion gwna ni 'gyd,
Yn mhlith y bleiddiaid sy'n y byd;
Ac fel y seirph yn gyfrwys gall
I wel'd a dadrys rhwydau'r fall.

4 Gwêl ni yn myn'd i maes i blith,
Gelynion cryfion rif y gwlith;
O rho addewid i ni 'gyd
Y byddi o'n plaid hyd ddiwedd byd.

5 Gwna fod d'ogoniant pur dilŷth
Yn nod a dyben i ni byth;
Dy fywyd hardd, a'th eiriau gwir
Yn wastad i ni'n rheol bur.

6 Gâd i ni ddod i'r mynydd fry
I'r cwmwl goleu atat ti,
Fel y dysgleirio'n hwynebpryd,
*Nes synu Israel* oll i gyd. W. W.

7 Bywyd y meirw, tyr'd i'n plith,
A thrwy dy Ysbryd arnom chwyth ;
Anadla'n rymus ar y glyn,
Fel byddo byw yr esgyrn hyn. J. H.

## HYMN CLXXXVI. (M. H.)

*Yr awelon nefol.*

1 O TYRED y gogleddwynt clir,
Anadla ar dy lysiau pur;
Ac oni ddeui mewn iawn bryd,
Fe wywa'r grasau oll i gyd.

2 Tyr'd a'r awelon hyny lawr,
Sy'n deffro'r arg'oeddiadau mawr ;
Tyr'd dithau y deheu-wynt clud,
Sy'n codi'n henaid uwch y byd.

3 Doed pob awelon yn eu lle,
I godi'm hysbryd tua thre',
Gwnaed pob rhyw foddion, pob rhyw ddawn,
I'th lysiau ber-arogli'n iawn.

4 O tyr'd i'th ardd f'Anwylyd pur,
Mae'r amser hebot yma'n hir,
Bwyta dy ffrwyth o nefol rin,
Pereiddiaf blenaist ti dy hun. W. W,

## HYMN CLXXXVII. (M. H.)

*Dedwyddwch y Gwaredigion.*

1 FE syrth y ser i lawr o'r nen,
Fe d'wylla'r bydoedd mawr uwch ben,
Fe sych y môr, fe sych y môr,
Bydd f'Arglwydd Ior yr un o hyd.

2 Bydd gwraig yr Oen, y bore hwn,
Yn canu'n iach, heb boen, a phwn;

Ar ddeheulaw, ar ddeheulaw,
Ei Phrïod draw, heb farw byth.

3 Ceir gwel'd y dyrfa ddysglaer fawr,
Rifedi gwlith y fore wawr;
Heb friw na phoen, heb friw na phoen,
Yn canu i'r Oen y newydd gân.

4 O gwyn ei byd y dyrfa fawr,
Yn iach a 'hedodd uwch y llawr;
Marwolaeth mwy, marwolaeth mwy,
Ni chwrdd â hwy sydd fry mewn hedd.

M. R.

## HYMN CLXXXVIII. (M. H.)

*Hyder a gweddi'r Cristion.*

1 MAE gwedd ei wyneb yn iachau,
Y cleifion, a'r dolurus rai;
Fy Meddyg yw, fy Meddyg yw,
Nis gallaf fyw, byth heb fy Ner.

2 O! golch fi yn y ffynnon fawr,
A redodd dan dy fron i lawr;
O ddwr a gwaed, o ddwr a gwaed,
Rho i mi'n rhad, fy llwyr lanhâu. M. R.

## HYMN CLXXXIX. (M. H.)

*Genedigaeth Crist.*

1 O'R nefoedd clywch ar fore clir,
Newyddion daeth i Fethle'm dir;
Fod i ni wedi ei eni un,
Yn gadarn dŵr i gadw dyn.

2 Fe ganodd yr angelion fry,
Wir fawrhad i'n Ceidwad cu:
A pha'm na chanwn ninau'n awr,
Wir glôd am eni'n Ceidwad mawr.

3 Da Feddyg cleifion union yw,
A ffynnon lân i'r aflan ryw:
A bara'r bywyd hyfryd hêdd,
I'r rhai tylodion waelion wedd.

4 Rhyfeddod pob rhyfeddod yw,
Fod Iesu yn ddyn, ac yn wir Dduw;
Ar liniau Mair yn faban gwan,
Yn Dduw presennol yn mhob man.

5 Mae'n wisg i'r noethion, lymion lun,
Mae'n nerth i'r gweiniaid, enwog un;
Mae'n Fugail da i'w ddefaid oll,
Fe fedr gael y rhai sy ar goll.

6 Mae pob peth ynddo ef i'w gael,
Sy'n eisieu ar bechadur gwael;
Yn ïe mae ac yn Amen,
I'w blant dilyth, mae byth yn ben.

7 Boed y gogoniant iddo ar gân,
Trwy'r ddaear lawr, rhoed mawr a mân;
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
'N un Duw o hyd, a diwahân.

## HYMN CXC. (M. H.)

*"Byw i mi yw Crist."*

1 BYW im' yw Crist, er bod mewn bedd;
Byw im' yn eiriol fry mewn hedd;
Byw im' yn feddyg i fy nghlwy';
Byw'n frawd a phriod imi mwy.

2 Byw'n Archoffeiriad ar fy rhan;
Byw'n nerth a phlaid i f'enaid gwan;
Byw'n Frenin ar ei orsedd fawr,
I'm hachub a'm gwaredu'n awr.

3 Byw imi'n Brophwyd mawr ei ddawn,
I'm dysgu yn rhyfeddol iawn;

I'm dysgu 'mwadu â mi fy hun,
Gan roi'r gogoniant iddo'n un.

4 Fy mywyd yw mewn cyfiawnhad;
Fy ngobaith cadarn am iachâd;
Fy iachawdwriaeth oll, a'm cân;
Fy mywyd yn y dwr ar tân. R. J.

## HYMN CXCI. (M. H.)

*O flaen pregeth.*

1 BOED dy awelon pur fel tân,
Yn llosgi'r sothach oll o'i flaen,
A chadw'r weinidogaeth fawr,
A'i llewyrch fel y boreu wawr.

2 Chwyth beraroglau'r enaint gwiw,
Nes gwneuthur meirw fyrdd yn fyw;
O! anfon dy awdurdod gref,
Ac agor feddau fyrdd â'th lef.

3 O! gwisg holl weision Iesu glân,
A chenadwri megys tân,
A danfon nerth o'r nef i lawr,
Trech na galluoedd uffern fawr. R. J.

## HYMN CXCII. (M. H.)

*Galwad ar Ieuenctid.*

1 O! FILWYR ieuainc, de'wch i gyd,
Yn erbyn satan cnawd a byd:
Os de'wch dan faner Crist, yn wir,
Cewch ranu'r ysbail cyn bo hir.

2 Mae'r ieuainc yn aberthau byw,
A chymeradwy iawn gan Dduw;
A llawen gan angelion nef,
Wel'd plant o dan ei faner ef.

3 O! cofiwch eich Creawdwr mawr,
A rho'wch eich hunain iddo'n awr:

Mae'n caru plant, a mebyd yw,
Yr amser hoffaf gan ein Duw.

4 Mae gan Dduw winllan yn y byd;
De'wch, gweithiwch ynddi, mae'n llawn bryd:
Ar fyr cawn orphwys fry mewn hedd,
A'n galw i'r dragwyddol wledd. P. J.

## HYMN CXCIII. (M. H.)

*Yr Ysgol Sabbathol.*

1 CYSSEGRWN flaenffrwyth dyddiau'n hoes,
I garu'r hwn fu ar y groes:
Mae mwy o bleser yn ei waith,
Na dim a fedd y ddaear faith.

2 Cael bod yn fore dan yr iau,
Sydd ganmil gwell na phleser gau:
Mae ffyrdd doethineb oll i gyd,
Yn gysur ac yn hedd o hyd.

3 Y plant a wasanaethont Grist,
Cant ddianc byth rhag uffern drist:
Mae myrdd o ie'nctid yn y nef,
Yn berlau yn ei goron ef.

4 O! na threuliaswn yn ddigoll,
O dan iau Crist, fy mebyd oll:
Mae'r hwn a'm prynodd ar y groes,
Yn deilwng o bob awr o'm hoes. P. J.

## HYMN CXCIV. (M. H.)

*Y Sabbath.*

1 Y SABBATH, gwyl nefolaidd yw;
Ar hwn cyfododd Iesu'n fyw:
Clodforwn ninau Frenin hedd,
Mae wedi perarogli'r bedd.

2 O! f'enaid, nac anghofia'r dydd,
Y daeth y Meichai mawr yn rhydd:
Agorwyd i ni byrth y nef,
Trwy rin ei fuddugoliaeth ef.

3 Gwaith rhyfedd oedd creu nef a llawr,
A threfnu'r greadigaeth fawr:
Ond gwaith rhyfeddaf Duw ei hun
Oedd gorphen iachawdwriaeth dyn.

4 Y mae gorphwysfa'n ôl i'r saint,
Mewn gwlad o hedd, O ryfedd fraint!
Lle cânt fwynhau, heb gur na phoen,
Dragwyddol Sabbath gyd â'r Oen. P. J.

## HYMN CXCV. (M. H.)

*Esgyniad Crist.*

1 I'R lan o'r bedd ein Harglwydd daeth;
Esgynodd fry tu fewn i'r llen:
Galluoedd uffern dug yn gaeth
Trwy'r awŷr lâs hyd entyrch nèn.

2 O flaen ei gerbyd dysglaer ef,
Bloeddiai angelion ar bob llaw,
Codwch eich penau, byrth y nef;
Chwi ddrysau oesawl, ciliwch draw.

3 Yn llydan gwnewch y ffordd yn rhydd,
A throwch yn ol, chwi folltau'r gwawl;
Gwiw Frenin y gogoniant sydd
Yn dod i mewn; mae ganddo hawl.

4 Pwy ydyw'r Iôr gogonawl? pwy?
Yr Arglwydd nerthol, cryf mewn câd:
Ei holl elynion, maeddodd hwy;
*Yn awr mae'n esgyn at ei Dad.* P. J.

## HYMN CXCVI. (M. H.)

*"Gorphenwyd."*

1 GORPHENWYD, medd ein Iesu mawr;
A'i fywyd rhoes o'i fodd i lawr:
Gorphenwyd! do, fe gaed y dydd;
Fe dalwyd iawn, daw'r caeth yn rhydd.

2 Gorphenwyd—cynghor Duw heb goll,
Y ddeddf, a'r addewidion oll;
Cyflawnwyd nôd y rhai'n i gyd
Yn Iesu, Prynwr mawr y byd.

3 Gorphenwyd! clywch y gair i gyd;
O! hyfryd sain, amgylcha'r byd:
Gorphenwyd! aed yr adsain lòn
Trwy nef y nef a'r ddaear gròn. P. J.

## HYMN CXCVII. (M. H.)

*Crist a'i iachawdwriaeth.*

1 MAE rhyfeddodau rîf y dail
Ym Mherson hynod Adda'r ail;
Difyrwch penaf nef y nef
Yw edrych ar ei degwch Ef. J. H.

2 Y Manna pur, a'r golofn dân,
Yr Arch, a'r Drugareddfa lân;
A dwr o'r graig i'w gael bob pryd,
Fy Iesu ydyw rhai'n i gyd.

3 Yr iachawdwriaeth fawr yn Nghrist,
Swn melus hyfryd yw i'm clust;
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chordial i'm rhag ofnau yw.

## HYMN CXCVIII. (M. H.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 O ARGLWYDD Dduw bywhâ dy waith
Trwy holl derfynau daear faith;

Tros dîr a môr dysgleiria 'maes,
Yn nerth dy anorchfygol râs.

2 Mae Babilon yn crynu'n wir,
Mae'n rhwym o gwympo cyn bo hir:
O Arglwydd brysia, rhwyga'r llen,
Boed Sïon bur trwy'r byd yn ben.

3 Mae'r seithfed dydd a'r seithfed awr,
Yn agoshau ar Babel fawr:
Fe syrth ei muriau bob yr un,
O flaen Efengyl Mab y dyn.

## HYMN CXCIX. (M. H.)

*Agoriad Addoldy.*

1 MAWR wyt ein Tad trag'wyddol Fod,
Seraphiaid glân sy'n seinio'th glod;
Cymysgwn ninau yn dy dŷ,
Ein cân â chân angelion fry.

2 O tyred Arglwydd Ior i'n plith,
Gorchuddia'th Fynydd hwn a'th wlith;
Cyssegra Di y babell hon,
A'th bresennoldeb ger ein bron.

3 Boed gwir ogoniant fyth ar gân,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan;
I'r Tri yn Un Trag'wyddol Dduw,
Cyd-roddwn fawl ein dyled yw.

R. J. LL—LL.

## HYMN CC. (M. H.)

*Ar ol pregeth.*

1 I DAD y trugareddau i gyd,
Rhown foliant holl drigolion byd:
Llu'r nef moliennwch Ef ar gân,
*Y Tad, y Mab,* a'r Ysbryd Glan.

## HYMN CCI. (8. 8.)

*Ffarwel wae, croeso wynfyd.*

1 NAWR 'rwy'n gwel'd yr ardal hyfryd,
Hen gartrefle, fy Anwylyd;
Gwlad lle mae pob rhyw gysuron,
Yn llifeirio fel yr afon.

2 Ffarwel bellach hen bleserau,
Dwyllodd f'ysbryd fil o weithiau:
Nawr 'rwy' wedi ffeindio hawddfyd,
Nad oes ynddo radd o ofid.

3 Mi ge's berl gwell nag o'r India,
Nef a daear byth ni phrisia,
Iesu a'i drysor, dyna ei sylwedd,
Nef y nefoedd yn y diwedd.

4 Blwyddau hirion o ryfela,
Yn oruchafiaeth a derfyna:
Fe dry galar am bob beiau,
Yn Hosanna, ond eu maddeu.

5 Fe ddaw'r dydd y caf fi ganu,
Concwest bai oedd yn fy maeddu;
Haleluia nefol hyfryd,
Diwedd pechu, diwedd gofid. W. W.

---

## HYMN CCII. (M. H.)

*Dedwyddwch y nef.*

1 F'ENAID cred, anghofia'th adfyd,
Edrych i'r ardaloedd hyfryd:
'Hêd o'r byd sy'n fôr o drallod,
Y mae gwleddoedd i ti'n barod.

2 Dacw'r gwledydd hyfryd helaeth,
Roddwyd i mi'n etifeddiaeth;
Lle mae cariad pur yn llifo,
Tros ardaloedd gras heb flino.

3 'Rwyf fi'n clywed myrdd o seintiau
'Nawr yn canu eu telynau;
Ac yn taro ar Hosanna,
Dechreu Anthem pen Calfaria.

4 Deng mîl o delynau'n canlyn,
Cân heb ddechreu, cân heb derfyn,
Y Cerubiaid, gyda'r seintiau,
Yr un sylwedd eu caniadau. W. W.

## HYMN CCIII. (8. 8.)

*Hyder a dymuniad y Cristion.*

1 OS rhaid yfed dyfroedd Mara,
Mewn anial blin tra paro 'ngyrfa:
O nertha di, fy Nhad, a'm Harglwydd,
F'ysbryd gwan mewn byd o dramgwydd.

2 Er cael fy nghuro'n nhrigfau dreigiau,
Suddo'n fynych dan y tònau;
Fe ddaw'r hyfryd ddedwydd wawr-ddydd,
Na welir t'wyllwch yn dragywydd.

3 Yno derfydd fy nghystuddiau,
Troir fy ngalar yn ganiadau;
Yn lle Mara a'i dwr anhyfryd,
Câf yfed byth o afon bywyd.

4 Doed a ddelo, tra b'wyf yma,
Mi ro'f fy hun yn llaw Jehofah:
Efe yw ffynnon iachawdwriaeth,
Sy'n golchi yn lân bob llygredigaeth.

5 O na welwn ddydd yn dyfod,
I'm henaid eiddil gael gollyngdod:
O sŵn y rhyfel, a chystuddiau,
*A myn'd i mewn* i'r pêr drigfanau.

## HYMN CCIV. (8. 8.)

*Clodforedd y gwaredigion.*

1 CANED pechaduriaid mawrion,
Fe gaed noddfa i lofruddion;
Noddfa glyd, rhag llid dialydd,
Noddfa rad y'ngwlad y cystudd.

2 Tra rhaid i mi wisgo'r arfau,
Dwyn y groes trwy orthrymderau:
Rho dy gwmni dyna ddigon,
Nes myn'd adre' i wisgo'r goron.

3 Canwn mwy am waredigaeth,
Heb ei hail i blant marwolaeth:
Talodd Iesu ein dyledion,
A gorchfygodd ein gelynion.

4 Am hyn rhyfeddol fydd y canu,
Pan ddel Sïon oll i fynu;
At y rhai sy'n awr mor hwylus,
Yn chwareu eu tannau yn Mharadwys.

5 Caned nef a daearolion,
Sain Hosanna i Frenin Sïon:
Llawn tosturi yw e'n wastad,
Nid oes diwedd ar ei gariad.

## HYMN CCV. (8. 8.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 AED efengyl fel y wawr-ddydd,
Ar led i gludo myrdd trwy'r gwledydd,
Ac aed sain yr udgyrn arian,
I ddadymchwelyd teyrnas satan.

2 T'wyned haul ar fyrdd o werin,
Sy'n y dwyrain a'r gorllewin;
Sôn am Iesu a lanwo ynysoedd,
Fel mae'r dyfroedd yn toi'r moroedd.

3 Llanwed moroedd iachawdwriaeth,
Holl gyrau'r byd, â gwir wybodaeth:
Dehau, gogledd, a'r holl wledydd,
Fyddo yn dyfod at Fab Dafydd.

4 Doed myrddiynau maith o'r Indiaid,
Hen Iuddewon o Phaganiaid;
A'r holl ynysoedd a fo'n nesu,
Yn dorf trwy ras tan faner Iesu.

5 Llwyddiant i'r cenadau ffyddlon,
Sy'n cyhoeddi efengyl dirion;
I gael rhyw dorf ddirif (trwy gredu)
Yn berlau hardd y'nghoron Iesu.

6 Croeso hyfryd fore hawddgar,
Pan ddel lluoedd nef a daear;
I gyd ganu am ben Calfaria,
Gyda'u Priod, Halaluia.

## HYMN CCVI. (8. 8.)

*Tywysog tangnefedd.*

1 O NA chawn i olwg hyfryd,
Ar ei wedd Dywysog bywyd;
Tegwch byd a'i holl bleserau,
Yn ei ŵydd a lwyr ddiflanai.

2 Melus odiaeth yw ei heddwch,
Anghydmarol ei brydferthwch;
Ynddo'n rhyfedd cyd-lewyrcha,
Dwyfol fawredd a mwyneidd-dra.

3 Uchelderau mawr ei Dduwdod,
A dyfnderoedd ei ufudd-dod;
Sy'n creu synu fyth ar synu,
Yn nhrigolion gwlad goleuni. D. C.

## HYMN CCVII. (8. 8.)

*Rhagoroldeb yr Iesu.*

1 NID yw hardd wrthddrychau daear,
Oll ond dim wrth Iesu hawddgar;
Nid yw'r nefoedd i'w chyd-brisio,
Pe bai nefoedd i'w chael hebddo.

2 Iesu ei hunan yw y nefoedd,
Tros fy oes ac yn oes oesoedd;
Nef fy nefoedd fydd ei garu,
Ei fwynhau, a'i bur-foliannu.

3 Nid oes neb ond Ef ei hunan,
A wna'r euog brwnt yn burlan;
Mae fe'n ddigon i droseddwr,
Mae fe'n berffaith lawn Waredwr. T. J.

4 O na allwn garu'r Iesu,
Yn fwy ffyddlawn, a'i was'naethu;
Dweyd yn dda mewn gair am dano,
Rhoi fy hun yn gwbl iddo.

## HYMN CCVIII. (8. 8.)

*Tegwch Iesu.*

1 IESU ydyw'r unig wrthddrych,
Yn dragwyddol sydd i'w chwenych;
Ef sy'n llenwi'r nef â chysur,
Ef a leinw wael bechadur.

2 Beth yw dwysaf berlau'r India?
Aur Peru, neu gyfoeth China?
Beth yw'r holl drysorau euraid?
Diddim oll wrth Geidwad enaid.

3 Dyma'r un ordeiniodd Duwdod,
I roi perffaith iawn am bechod;
Hwn yw'r un a bia'n wiwfraint,
Gadw enaid rhag digofaint. T. J.

## HYMN CCIX. (M. S.)

*Diwedd galar, dechreu gwynfyd.*

1 B'LE tro' fy wyneb Arglwydd cu,
Ond atat ti dy hunan:
Pob peth gweledig 'thal ef ddim,
Ond gwneuthur i mi ruddfan.

2 Os yw 'ngofidiau yn y byd,
I bara hyd y diwedd;
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

3 Po fwyaf gawn o wres y dydd,
Mwy yno fydd ein moliant;
Cawn yn lle'n cystudd byr a'n crwys, *
Dragwyddol bwys gogoniant.

4 Pryd hyn pereiddia Duw o'r bron,
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
Pryd hyn y try pob chwerw nant,
Yn win i blant Jehofah.

5 Po mwyaf fo'u cyfyngder hwy,
Bydd fwy fwy eu cysuron:
Eu hedd melusach na'r dil mêl,
A lifa fel yr afon. W. W.

## HYMN CCX. (M. S.)

*Tu draw'r Iorddonen.*

1 DUW cadw f'enaid bach o hyd,
Uwch law y byd a'i ddrygau;
Gan lwyr ddibrisio ei boen a'i wae,
Ei drallod a'i gystuddiau.

2 Fel na bwy'n gwrando ar ei dwrf,
Ei gynhwrf a'i ruadau:
Gan deithio'r llwybr cul bob cam,
A meddwl am fy nghartre.

* *croes.*

3 Heb gyfeiliorni ar un llaw,
Nes myn'd tu draw'r Iorddonen;
At seintiau flinodd ar y byd,
Sy'n awr i gyd yn llawen.

4 Yn gorphwys yn y Ganaan bur,
Preswylfa'r gwir dduwiolion;
Tir yr addewid hyfryd draw,
Gwlad lle nas daw gelynion.

5 Gorphwysfa dawel, deg, ddi-stŵr,
Sydd yno i'r gŵr lluddiedig;
Afonydd gloyw pur didrai,
I ddiodi'r rhai sychedig.

6 Ac yno mae fy Mrenin mawr,
Yn daer yn awr yn eiriol,
Gan bledio ei angeu ddydd a nos,
Yn ffyddlon dros ei bobl. W. W.

---

## HYMN CCXI. (M. 8.)

*Y Cyfaill gor*

1 CLODFORWCH bawb ein Harglwydd Dduw,
Doed dynolryw i'w ganmol:
Ei hedd fel afon fawr ddidrai,
Gaiff ddyfrhau ei bobl.

2 Ei air a'i ammod cadw wna,
Byth y parha'i ffyddlondeb;
Nes dwyn ei braidd o'u poen a'u pla,
I hyfryd dragwyddoldeb.

3 Ni feddai ffrynd, na mam na thad,
A'r cyfryw gariad i mi;
Mewn culni, gofid, poen, a gwae,
Yn wastad mae'n fy ngharu.

4 O fewn i'r byd ni bu yn bod,
Neb i'm erioed mor ffyddlon:
Gwirionedd yw nid oes o'i fath,
O'r diwedd f'aeth a'm calon.

5 Caf fwyta ffrwythau prenau plan,
Ar hyd glan afon bywyd;
Tragwyddol Sabbath gyda'r Oen,
Heb friw, na phoen, na gofid.

6 Pan ballo ffafr pawb a'u hedd,
Duw o'i drugaredd odiaeth;
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrynd a fydd,
Ar gyfyng ddydd marwolaeth. W. W.

## HYMN CCXII. (M. S.)

*Pen y daith.*

1 O FUGAIL Israel dwg fi 'mlaen,
I'r dawel lân orphwysfa:
I'th nefol lys o'm poen a'm pla,
I ganu Haleluia.

2 Er bod yn hir mewn anial fan,
Yn 'mofyn am orphwysfa;
O'r diwedd daethum (rhyfedd fraint,)
I'r man mae'r saint yn gwledda.

3 Y wisg a'r goron gaf i'm rhan,
Sy'n nghadw gan yr Iesu,
A'r hyfryd balmwydd yn fy llaw,
Cai'n Sïon draw deyrnasu.

4 Ymborthi caf mewn gwlad uwch ben,
Ar ffrwythau Pren y Bywyd;
Ac yfed byth heb boen na chur,
O afon bur a hyfryd.

5 Ni all Satan, deddf, na gweddill bai,
I ddamnio rhai crediniol;
Mae gwaed, yr Oen âg uchel lef,
*O fewn i'r nef* yn eiriol.

## HYMN CCXIII. (M. S.)

*Dibyniad ar Grist.*

1 RHAID i mi gael pob gras pob dawn,
O'th drysor llawn yn gyfan;
Ac oni chaf fy enaid prudd,
A gyll y dydd yn fuan.

2 Dy wisg dy hun cyfiawnder hael,
Sydd raid i'm gael y'mlaenaf;
Nid oes ond ofni dan fy mron,
Nes caffwyf hon am danaf.

3 Sancteiddrwydd im', yw'r Oen dinam,
Nghyfiawnder a'm doethineb;
Fy mhrynedigaeth, o bob pla,
Fy Nuw i dragwyddoldeb.

4 Gwyn fyd y rhai dilëaist eu bai,
Eu pechod a'u hanwiredd;
Gan roi iddynt nerth er cnawd a byd,
I bara hyd y diwedd.

5 Dysgwyl yr wyf, a hyn bob cam,
Fel gwyliwr am y boreu,
I brofi cryfder braich dy ras,
I'm tynu 'maes o'm beiau. W. W.

## HYMN CCXIV. (M. S.)

*Haeddiant Crist.*

1 MI wna'm gorphwysfa dawel byth,
Iesu yn dy ddilyth glwyfau;
Bellach fy ngobaith fydd a'm ple,
'Th fod yn fy lle yn dyoddeu.

2 Pur waed ei galon ddaeth yn llif,
Tros fy aneirif feiau;
I'm cànu'n wyn fel lliain main,
*Oddiwrth* bob stain a brychau.

3 Fe ddofodd llid cyfiawnder llym,
'Does ganddo ddim i'w wneuthur;
Mae'r gwaed yn gwaeddi, hedd yn daer,
Trwy'r nef a'r ddae'r yn eglur.

4 O golch fi beunydd, golch fi'n lân,
Golch fi yn gyfan Arglwydd;
Fy nwylaw a'm calon, pen a'm traed,
Golch fi â'th waed yn ebrwydd.

5 Bedyddia fi â'r Ysbryd Glân,
Fel tân pwerus nerthol;
Caiff ysbryd, barn, a llosgfan fod,
Ar bechod yn wastadol. W. W.

## HYMN CCXV. (M. S.)

*Y Gwaredwr Iesu.*

1 O IESU fy Ngwaredwr llawn,
Fy Iawn a'm Prynedigaeth!
Trwy'th angeu di, fy ngwared ca'
O uffern a marwolaeth.

2 Ar ochr f'enaid tlawd fe fydd,
Ar foreu ddydd marwolaeth;
Yn wyneb angeu, caf wneud ple,
Gan weiddi Iechydwriaeth.

3 O fewn i'r wlad tu draw i'r bedd,
Caf weled gwedd ei wyneb;
Ac yn ei fynwes llechu ca',
Hyd eitha' tragwyddoldeb.

4 Fe gasgla'm llwch o'r bedd i'r lan,
Yn gyfan ac yn gryno;
Caf gorff fel fy anwylyd gwiw,
*O hyfryd* liw'n dysgleirio. W. W.

## HYMN CCXVI. (M. S.)

*Preswylwyr Tŷ Dduw.*

1 DY babell di mor hyfryd yw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd;
Mynych chwenychais weled hon,
Rhag mor dra thirion ydoedd.

2 Y man b'ost di, bid bryn neu fro,
Sydd gyflawn o ddyddanwch;
Yn dy gynteddau'n wastad mae,
Oes, fôr didrai o heddwch.

3 O dwg fy enaid llesg i'r lan,
I'r man 'rwyt ti'n preswylio;
Wrth deithio'r anialwch mawr yn hir,
'Rw'i gwedi gwir ddiffygio.

4 Ant rhagddynt bawb o nerth i nerth,
Nes cael yn brydferth ddyfod,
I 'mddangos i Dduw ger ei fron,
Yn Sïon ei breswylfod.

5 Pe b'ai yn gorfod ar y rhai'n,
'Rhyd glyn wylofain dramwy;
Gosodir ffynnon iddynt hwy,
A'r gwlaw a'u lleinw fwy-fwy.

6 Derfydd ar fyr eu poen a'u gwae,
Eu trallod a'u cystuddiau;
Cânt ganu yn y nefoedd wen,
Yn iach ar ben eu siwrnai. W. W.

## HYMN CCXVII. (M. S.)

*Swper yr Arglwydd.*

1 WEL, dyma wledd, gwledd ein Duw Iôn,
O basgedigion breision,
A gwin puredig yn ddidrai,
I lawenhau y cleifion.

2 On'd gwledd yw hon gyfoethog hael,
'Does diwedd gael 'mo honi;
O pwy na anturia 'mlaen yn rhwydd,
I wledd yr Arglwydd Iesu?

3 Os claf, os gwan, os tlawd o hedd,
O dewch i'r wledd yn fuan;
Dewch â'ch achwynion o bob rhyw,
Fe'u hateb Duw ei hunan.

4 Yma cewch wel'd eich Harglwydd mawr,
Yn rhoddi 'lawr yn hollol,
Ei hun i angeu, angeu'r groes,
Yn ddiddig tros ei bobl.

5 Mi gofia eiriau'm Harglwydd hael,
'Prydnhawn cyn cael ei hoelio:
I fwyta ei swper, minau ddof,
Yn mlaen er côf am dano. W. W.

## HYMN CCXVIII. (M. S.)

*O flaen Pregeth.*

1 TYR'D Ysbryd Glan, i'n c'lonau ni,
A dod d'oleuni nefol:
Tydi wyt Ysbryd Crist dy ddawn,
Sydd fawr iawn a rhagorol.

2 O Ysbryd Glan i'n c'lonau ni,
Y gwir oleuni danfon;
A hefyd zel tra bom ni byw,
I garu Duw yn ffyddlon. E. P.

3 Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ydynt dy eglur ddoniau:
Dod eli'n llygaid fel i'th saint,
Ac enaint i'n hwynebau.

4 Gwasgara di'n gelynion trwch,
A heddwch dyro i ni:
*Os T'wysog i ni fydd Duw Ner,*
*Pob peth fydd er daioni.*

5 Tydi a addewaist ddysgu, Ion,
Dy weision i lefaru:
Fel yn mhob man y caffo'n rhwydd,
Yr Arglwydd ei foliannu.

6 Fel y molianner, yn mhob oes,
Y Duw a roes drugaredd:
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan,
Da datgan ei anrhydedd.

## HYMN CCXIX. (M. S.)

*Dydd y Farn.*

1 MAE dydd y farn yn dod ar frys,
Boed hyn yn hysbys i ni;
Gorfydd i bawb roi ar g'oedd,
O'u holl weithredoedd gyfri'.

2 Bydd yno bawb yn sobr iawn,
Yn derbyn cyfiawn ddedfryd;
Tlawd a chyfoethog wrth y fainc,
Bydd hen ac ieuainc hefyd.

## HYMN CCXX. (M. S.)

*Yr achos Cenadol.*

1 NI attolygwn dyro lwydd,
O Arglwydd y cynhauaf,
Gan anfon gweithwyr lawer iawn,
O fryd a dawn gwresocaf.

2 I'r llafur mawr o anfon di,
Nifeiri o rai ffyddlon,
Gan ddatgan trwyddynt nerth dy ras,
I wael ac atgas ddynion.

3 Dy arfer di ein Harglwydd hael,
Yw gweithio trwy wael foddion;

Am hyn y llefwn, Amlha
Dy rasol wirdda weision.

4 Yr wyt ti etto yn parhau,
I ddewis pethau dirym;
A thrwy y rhai'n y tefli i lawr,
Alluoedd mawr fel diddym. T. J.

## HYMN CCXXI. (M. S.)

*Bedydd.*

1 BOED clod a mawl a pharch a bri,
I'r hynod dri Phersonau,
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan,
Sy'n golchi aflan feiau.

2 Agorodd ffynnon i'n glanhau,
O'i drugareddau bythol;
Addewid ro'dd ini a'n plant,
Sy'n llawn o fwyniant nefol.

3 Bedyddier ni yn fawr a mân,
A'r Ysbryd Glan a'i radau;
Boed arnom er glanhad a maeth,
Ei helaeth dywalltiadau.

4 Rho fendith rad i ni a'n plant,
Er cynnydd ffyniant grasol;
Bendithion dy gyfammod hedd,
Glanhad a gwledd wastadol. T. J.

## HYMN CCXXII. (M. S.)

*O flaen pregeth.*

1 TYR'D Ysbryd sanctaidd dangos rym,
Dy nerthol lym wirionedd:
Rho rasol fendith yma'n awr,
*I fwrw i lawr* anwiredd.

2 Rho ddawn a goleu Arglwydd Ior,
I draethu'r cynghor dwyfol;
Ac agor di y galon gau,
I dderbyn d'eiriau nefol.

3 Perffeithia Ior dy nerth sy'n fawr,
Yn ngwyneb dirfawr wendid;
Rho i'r newynog tlawd a chaeth,
Ysbrydol faeth a rhyddid.

4 Wel dyro etto gymhorth rhwydd,
O Arglwydd yr arglwyddi;
Lle'r amlhäodd pechod cas,
Gwna di i'th ras ragori. T. J.

## HYMN CCXXIII. (M. S.)

*Cynhauaf toreithiog.*

1 CLODFORWN am diriondeb mawr,
Drigolion llawr, datgenwch,
Am ryfeddodau Brenin nef,
Ei weision ef moliennwch.

2 Ti sy'n addfedu cnŵd y maes;
Tydi, o'th ras, sy'n trefnu,
Pob dydd o'r tymmor oll a'i rîn,
A hyfryd hin i gasglu.

3 Haul a gwres, maent yn dy law,
Y gwynt a'r gwlaw, bob amser:
Mae gofal dy drugaredd di,
Am danom ni yn dyner.

4 Wrth edrych ar diriondeb Iôn,
Boed uchel sôn am dano;
Pob perchen tafod, yn y llwch,
Cydunwch i'w fendithio. R. J.

## HYMN CCXXIV. (M. C.)

*Dymuniadau y Cristion.*

1 RWY'N morio tua chartre'm Ner,
Rhwng tonau maith yn byw;
Adyn heb neges tan y ser,
Ond 'mofyn am ei Dduw.

2 Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro i 'nol,
A finnau 'dwyf ond gwan,
O cymer fi Iesu yn dy gôl,
Yn fuan dwg fi i'r lan.

3 A phan bo'n curo f'enaid gwan
Elynion fel y ser,
Derchafa'm hysbryd llesg i'r lan,
I fynwes bur fy Ner.

4 O gwna i fy nghalon redeg trwy,
Oll atat ti dy hun:
Na bo difyrwch genyf mwy,
Mewn daear, da, na dyn.

5 Nad fi ar aswy, nac ar dde',
I redeg o dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenin ne'.
Trwy ddyfnder dwr a thân.

6 Yn nyfnder profedigaeth du,
Dos dy hunan o fy mlaen;
Ond i mi gael bod gyda thi,
Nid ofnaf ddwr na thân.

7 Mi ro' fy 'mddiried ynddo ef,
Mae'n noddfa lawn i'r gwan;
Ac er y curo sy arnai lawr,
*Fe gwyd fy mhen i'r lân.*

W. W.

## HYMN CCXXV. (M. C.)

*Gorseddfainc y gras.*

1 MAE pyrth y nef o led y pen,
Mi wela fôr o waed:
Y gallaf fi'r ffieiddiaf ddyn,
Yn hollol gael iachâd.

2 Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan,
Wel cyfod bellach f'enaid prudd,
Anadla tua'r làn.

3 Wel anfon eirchion aml ri',
I mewn i byrth y nef:
Gwrandewir pob amddifad gri,
Yn union ganddo ef.

4 Ni fethodd gweddi daer erioed,
A chyrhaedd hyd y nef;
Ac mewn cyfyngder f'enaid rhêd,
Yn union ato ef.

5 Mi anturiaf at ei orsedd fwyn,
Dan eithaf tywyll nos:
Ac mi 'orphwysaf, doed a ddel,
Ar haeddiant gwaed y groes. W. W.

## HYMN CCXXVI. (M. C.)

*Crist yn rhagori ar ddeng mil.*

1 AT Wedd dy wyneb nid yw ddim,
Drysorau maith y llawr:
Mae hanner gair o'th enau yn fwy
Ei rym nag uffern fawr.

2 Os edrych 'wnaf i'r dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r de':

Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw
'Does debyg iddo fe.

3 Ni feddai ar y ddaear fawr,
Ni feddai yn y ne';
Neb ag a bery'n anwyl im';
Yn unig ond Efe.

4 Mae ynddo'i hunan drysor mwy,
Nag 'fedd yr India lawn:
Fe brynodd i mi fwy na'r byd,
Ar groes-bren un prydnawn.

5 'Does genyf mwy ond Duw yn Dad,
Yn erbyn pob rhyw wae;
'Does genyf ond ei gariad rhad,
Yn sylfaen i barhau.

6 O na allwn rodio er ei glôd,
Ac iddo bellach fyw;
A phob anadliad fyn'd i maes,
I ganmol gras fy Nuw. W. W.

## HYMN CCXXVII. (M. C.)

*"Y tlawd hwn a lefodd."*

1 O EDRYCH arnaf, Arglwydd mawr,
Mae bellach yn brydnawn;
O llanw'r euog tlawd sy heb ddim,
O'th nefol ddwyfol ddawn.

2 Dyma bechadur truan gwan,
Yn gruddfan dan ei boen,
Yn methu dod i'r ffynnon rad,
Sancteiddiaf waed yr Oen.

3 Mae temtasiynau'r ddraig yn gry',
A minnau d'wyf ond gwan:
Nid oes ond dwyfol nerth y nef,
*A'm deil i byth i'r lân.*

4 Mae llid o'r dwyrain ac o'r de',
Am goncro'm 'chydig ras;
Trag'wydddol gariad ydyw ef,
Wna'r truan gario'r maes. W. W.

## HYMN CCXXVIII. (M. C.)

*Gwlad well.*

1 FE'M siomwyd gan bleserau'r llawr,
Fe'm twyllodd bob yr un:
Ffowch bob cariadau rho'is ffarwel,
I ddaear ac i ddyn.

2 Ni throf fy wyneb byth yn ol,
I 'mofyn pleser gau:
Ond mi a gerddaf tua'r wlad,
Sy a'i phleser yn parhau.

3 Mae seintiau yn diengu i'r lan,
Yn fyrddiwn o fy mlaen;
Minau ymddifad yma'n byw,
Y'nghanol dwr a thân.

4 Ac mi debyga' clywai sŵn,
Nefolaidd rai o'm blaen;
Wedi concwerio, a myn'd trwy
Dymhestloedd dwr a thân. W. W.

## HYMN CCXXIX. (M. C.)

*Crist yn rhagori ar ddeng mil.*

1 NIS gall angelion pur y nef,
A'u doniau aml hwy,
I osod allan werthfawr bris,
Anfeidrol ddwyfol glwy'.

2 Ni welai wrthddrych mewn un man,
O'r ddaear las i'r ne';
A dâl ei garu tra f'wyf byw,
Yn unig ond efe.

3 Mae ei ffyddlondeb fel y môr,
  Heb fesur ac heb drai:
A'i drugareddau hyfryd sy,
  'N dragywydd yn parhau.

4 Cyflawnder nerth, cyflawnder gras,
  Cyflawnder nef y nef:
Uwch deall Seraphim a saint,
  Sy'n trigo ynddo ef.

5 Mae yn ei heddwch bethau mwy,
  Nag fedd y byd yn un;
A phrawf o'i gariad ydyw'r fraint,
  Oruch[illegible]afoddd dyn.

6 Fe brynodd i mi euraidd wisg,
  Trwy ddyodde' marwol glwy',
A'i angeu fe a guddia'm gwarth,
  I dragwyddoldeb mwy. W. W.

## HYMN CCXXX. (M. C.)

*Ymddifyru yn Nghrist.*

1 IESU, difyrwch f'enaid drud,
  Yw edrych ar dy wedd:
Ac mae llyth'renau d'enw pur
  Yn fywyd ac yn hedd.

2 A than dy aden dawel bur,
  'Rwy yn dymuno byw;
Heb ymbleseru fyth mewn dim,
  Ond cariad at fy Nuw.

3 O cau fy llygaid rhag im' wel'd,
  Pleserau gwag y byd;
Ac i mi wyro byth oddiar
  Dy lwybrau gwerthfawr drud.

4 'Does genyf ond dy allu mawr,
I'm nerthu i fyn'd y'mlaen:
Dy iachawdwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghoncwest a fy nghân.

5 Byth, gorfo[illegible] f'enaid mwy,
Dy Brio[illegible]y Dduw:
Mwy ydyw rhinwedd marwol glwy,
Na phechod o un rhyw. W. W.

## HYMN CCXXXI. (M. C.)

*Hiraeth am ryddhad.*

1 RWY'N edrych dr[illegible]ryniau pell,
Am danat bob y[illegible]r,
Tyr'd fy Anwylyd, mae'n hwyrhau,
A'm haul bron myn'd i lawr.

2 Tebygwn be bai nhroed yn rhydd,
Maes o'r caethiwed hyn;
Na wnawn ond canu byth tra bwyf,
Am ras Calfaria fryn.

3 Pererin wyf mewn anial dir,
Yn crwydro yma a thraw;
Ac yn rhyw ddysgwyl bob yr awr,
Fod tŷ fy nhad gerllaw.

4 Mae arnaf hiraeth am y wlad,
Lle mae torfeydd diri';
Yn canu'r anthem ddyddiau eu hoes,
Am angeu Calfari.

## HYMN CCXXXII. (M. C.)

*Arweinydd yr Ysbryd.*

1 TYR'D Ysbryd sanctaidd, ledia'r ffordd,
Bydd i mi'n niwl a thân:
Ni cherddai'n gywir hanner cam,
Nes byddi o fy mlaen.

2 Mi wyra weithiau ar y dde',
   Ac ar yr aswy law;
Am hyny arwain gam a cham,
   Fi i'r Baradwys draw.

3 Ddiffygiai ddim er [illegible] fy nhaith,
   Tra paro gras y[illegible]
Ac er mor lleied yw fy ngrym,
   Mae digon ynddo fe.

4 Anghyfnewidiol gair y ne',
   Ond cyfnewidiol fi;
Am hyn mi safa doed a ddel,
   Mae'r afael sicra fry. W. W.

## HYMN [illegible]XXXIII. (M. C.)

*Cyflawnder yr iachawdwriaeth.*

1 MAE'R iachawdwriaeth fel y môr,
   Yn chwyddo byth i'r lan:
Mae yma ddigon, digon byth,
   I'r truan ac i'r gwan.

2 'Does yma eisiau byth yn bod,
   Trysorau gras yn llawn:
Er maint yr yfed, a'r glanhau,
   Sy o fore hyd brydnawn.

3 Mae yma drugareddau rhad,
   I'r tlawd a'r llariaidd rai;
A rhyw fendithion maith yn 'stor,
   Sy fythol yn parhau.

4 Awn bechaduriaid at y dwr,
   A darddodd ar y bryn;
Ac ni gawn drachtio byth heb drai,
   O'r afon loyw hyn.

5 Fe ylch ein beiau ffwrdd â'i waed,
   Fe'n càna oll yn wyn,
*Fe'n dwg* o'r anial maith i maes,
   *I ganu* ar *Sïon* fryn; W. W.

## HYMN CCXXXIV. (M. C.)

*"Cymdeithas ei ddyoddefiadau Ef."*

1 BOED dyoddefiadau pur y groes,
  I laesu'm cur a'm gwae,
Gruddfanau d[illegible]ion angeu loes,
  I'm rhoddi[illegible]venhau.

2 Marwolaeth fy Ngwaredwr mawr,
  Yn fywyd pur i mi,
Fel gallwy' roddi'm oll i lawr,
  Yn gof am Galfari.

3 Fe rodd ei ddwylo pur ar led,
  Fe wisgodd goron dd[illegible];
Er mwyn i'r brwnt gae[illegible] yn wyn,
  Fel hyfryd liain main.

4 Yma dymunwn dreulio'm hoes,
  O fore hyd brydnawn;
Lle cawn i wylo cariad pur,
  Yn ddagrau melus iawn.

5 Calfaria fryn yw'r unig sail,
  Adeilaf arno mwy,
A gwraidd fy nghysur fyth gaiff fod,
  Mewn dwyfol farwol glwy. W. W.

## HYMN CCXXXV. (M. C.)

*Hyder y Cristion.*

1 DAI 'mofyn haeddiant, fyth na nerth,
  Na ffafr neb na'u hedd:
Ond hwnw yn unig gwyd fy llwch,
  Yn fyw i'r lan o'r bedd.

2 Nid ofnai'r byd, nid ofnai'r bedd,
  Rho brawf o'th hedd a'th rym:
Y cwbl sy'm dychrynu'n awr,
  A gwymp i lawr yn ddim.

3 O anghrediniaeth mawr ei rym,
Ti roddaist i mi glwy:
Ond d'wed a fynech credu wnaf,
Fod doniau'r nef yn fwy.

Fe'm golchir gan [illegible] hystudd trwm,
Fe'm purir yn [illegible];
Ac mi ddof allan, p[illegible] ddel dydd,
Wedi fy nghànu'n lân. W. W.

5 Llaw Duw am daliodd i i'r lan
Yn wyneb tân a dŵr,
Pan llawer gwaith bu'm henaid gwan,
Yn m[illegible] a soddi'n siwr.

## HYMN [illegible]CXXXVI. (M. C.)

*Dyrchafiad Crist.*

1 ESGYN a wnaeth i entrych ne',
I eiriol dros y gwan;
Fe sugna f'enaid inau'n lân,
I'w fynwes yn y man.

2 Mae'n eistedd ar ddeheulaw'r Tad,
Ar orsedd fawr y nef,
Ac y mae'r cyfan sydd mewn bod,
Dan ei awdurdod ef.

3 Gadawodd y llieiniau'n ol,
Yn arwydd i myfi,
Na raid wrth wisgoedd o unrhyw,
Yn y Baradwys fry. W. W.

## HYMN CCXXXVII. (M. C.)

*Gwreiddyn y mater.*

1 MI ymddiriedaf yn ei air,
Er cymaint yw fy mai;
Ac fe derfynwyd dydd, ac awr,
Pan caffwy'm gwir ryddhau.

2 O gwna fi'n ffyddlon yma o hyd,
Am lefel at dy glod;
Ac na fo pleser fyn'd a mryd,
A welwyd is y rhod.

3 Nad fi i foddloni ar ryw rith,
O grefydd heb ei grym:
Ond gwir adnabod Iesu Grist,
Yn fywyd anwyl im'.

4 Plant ydym etto dan ein hoed,
Yn dysgwyl am y stad,
Mae'r etifeddiaeth i ni'n dod,
Wrth Destament ein Tad. W. W.

## HYMN CCXXXVIII.*(M. C.)

*Digon erbyn angeu.*

1 PAN delo angeu yn ei rwysg,
I dori fy oll i lawr,
Fy unig noddfa werthfawr fydd,
Yn fy Ngwaredwr mawr.

2 Fe saif cyfammod pur y nef,
Pryd hyny yn ei rym,
Pan bo pob cysur îs y nef,
Wedi diflanu'n ddim.

3 O gad im' mewn tangnefedd pur,
Roi'm hanadl ola' i maes,
Ac mewn gorfoledd hwylio dros
Y cefnfor garw glas.

4 A myn'd tan ganu tua'r wlad,
Bwrpaswyd i mi fyw,
Ac wedi gado 'mhell o'm hol,
Gystuddiau o bob rhyw.

5 Fe ddaeth y Iubil werthfawr lawn,
Ar ol och'neidio'n hir;
Ac mi ges weled hyfryd ran,
O'r Baradwysaidd dir. W. W.

## HYMN CCXXXIX. (M. C.)

*"Awn a meddiannwn y wlad."*

1 O TYRED ysbryd sanctaidd pur,
Nertha 'mlinedig draed,
A rho i mi olwg oleu glir,
Ar hyfryd dir fy ngwlad.

2 Gad i mi ado yr anial maith,
Gwlad galar, a gwlad gwae,
A myned rhagof tua'r tir;
Sy a'i bleser yn parhau.

3 'Rwy' fel y gwyliwr ar y mur,
Yn dysgwyl bob yr awr,
Am wel'd yn gwawrio Iubil fwyn,
Fy muddugoliaeth fawr.

4 Pleserau'r ddaear wedi ffoi,
Pob chwantau gyd yn un,
Heb un difyrwch is y rhod,
Ond Iesu mawr ei hun.

5 Fe gerdd fy nhraed yn hwylus iawn,
Dof cyn prydnawn i'r lan;
Os caf ond bwyta'r gwleddoedd hyn,
Caf ganu yn y man. W. W.

## HYMN CCXL. (M. C.)

*Y Nefoedd.*

1 MI wela dyrfa draw o'm blaen,
Yn canu ar ben eu taith,
Ac wedi gorphen d'rysu 'rhyd
Yr anial garw maith.

2 'Nol cyfeiliorni ar y dde',
Ac ar yr aswy law,
Heb un cyfeiliorn maent hwy'n awr,
*Yn canu'n* beraidd draw.

3 Fe ddarfu eu rhyfel er ei rym,
Fe ddarfu eu poen a'u gwae;
Ac maent yn yfed heddyw o'r wledd,
Dragwyddol sy'n parhau.

4 Mae dyfais parch, mae dyfais clod,
Mae dyfais myn'd yn fwy,
A phob rhyw swydd wedi ffoi
Yn lân o'u cwmp'ni hwy. W. W.

## HYMN CCXLI. (M. C.)

*Pechod yn clwyfo Crist.*

1 FY meiau trymion luoedd maith
A waeddodd tua'r nen,
A thyna pam 'roedd rhaid i'm Duw
Ddyoddef ar y pren.

2 Hwy dy fradychodd, anwyl Oen,
Hwy oedd y goron ddrain;
Hwy oedd y fflangell greulon gref,
Hwy oedd yr hoelion main.

3 Fy meiau oedd y waywffon,
Drywanai'i ystlys bur;
Fel rhedodd ffrwd o tan ei fron,
O waed a dyfroedd clir.

4 O maddeu mai, a chliria'n llwyr,
Fy euogrwydd oll i gyd;
Ac nad fi glwyfo'th fawredd mwy,
Trwy'n aros yn y byd. W. W.

## HYMN CCXLII. (M. C.)

*Anwylyd yr Eglwys.*

1 FEL pwysi myrrh aroglaidd pur,
Ydyw f'anwylyd gwiw;
Ac y mae ynddo ef i'w gael,
Gysuron o bob rhyw.

2 A rhwng fy mronau caiff e' fod,
Trwy gydol faith y nos;
Nes gwel'd yn gwawrio'r boreu ddydd,
Bwrcasodd dwyfol loes.

3 Ni theimlodd cnawd erioed, na byd
Un cariad c'uwch ei ryw:
A'r hyn wy'n brofi, hyfryd wres
Tufewnol at fy Nuw.

4 Nid dyfnder ac nid uwchder maith,
Na chreadur îs y nef,
Einioes, nac angeu, nis gall fy
Ngwahanu oddi wrtho ef. W. W.

## HYMN CCXLIII. (M. C.)

*Pleserau dwyfol ras.*

1 DARFYDDWN son am bleser mwy,
Yn agos ac yn mhell;
Tra cawn i yfed dyfroedd pur,
O ffynnon lawer gwell.

2 Darfydded dydd, darfydded nos,
Fel mynyd fechan awr;
Tra fawn yn caru a rhoi mhwys,
Ar fynwes f'Arglwydd mawr.

3 Eisteddais dan ei gysgod ef,
A'i ffrwyth oedd felus iawn;
Ac yma treuliwn ddyddiau f'oes,
Fyth fyth yn ddedwydd iawn.

4 Ac megys pren afalau pêr,
Yn nghanol prenau'r coed;
Felly f'Anwylyd yntau 'mhlith
Y meibion sy'n cael clod.

5 F'anwylyd sydd fel lili hardd,
Hyfryda erioed ei liw;
Ag sydd yn maeddu blodau'r byd,
*Posïau* pena' eu rhyw.

6 Fe wnaeth ei babell yn ein plith,
A'i bresenoldeb sy,
Yn troi pob cystudd chwerw loes,
Yn hyfryd hedd i ni. W. W.

## HYMN CCXLIV. (M. C.)

*Ysbryd arall.*

1 MI âf yn mlaen yn nerth y nef,
Tua'r baradwysaidd dir,
Ac ni orphwysaf nes cael gwel'd,
Fy etifeddiaeth bur.

2 Mae llais i'm galw i maes o'r byd,
A'i bleser o bob rhyw,
Minau wrandawa'r hyfryd swn,
Llais fy Anwylyd yw.

3 Iesu yw tegwch mawr y byd,
A thegwch pena'r nef,
Ac y mae'r cwbl sydd o werth
Yn trigo ynddo ef.

4 A boed fy mhleser bellach byth,
O tan ei aden wiw,
Na foed difyrwch genyf mwy
Mewn dim, ond yn fy Nuw. W. W.

## HYMN CCXLV. (M. C.)

*"Gorphwysfa etto yn ol."*

1 MAE pererinion draw o'm blaen,
Yn canu'r anthem bur,
Ac heddyw'n edrych fel o bell,
Ar dd'rysni'r diffaith dir.

2 Maent hwy'n rhyfeddu'r dwyfol ras,
A'u nherthodd ar en taith;
A chanu cariad addfwyn Oen,
Ffyddlonaf yw eu gwaith.

3 O nertha finau i edrych draw,
Heb wyro o un tu,
Nes i mi gyrhaedd mewn i byrth
Caersalem newydd fry.

4 Rho'r delyn auraidd yn ein llaw,
Ac yn ein hysbryd dân;
Ac yn mheryglon anial dir,
Erfyniau pur a chân.

5 Ni awn fel hyn yn ngwres y nef,
Fel un lluosog lu,
Trwy demtasiynau heb ddim rhif
I mewn i'r nefoedd fry. W. W.

## HYMN CCXLVI. (M. C.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 MAE turtur yr efengyl fwyn,
Yn llanw bro a bryn;
O de'wn a dringwn fynu fry,
'Nawr gyda'r awel hyn.

2 O hyfryd dawel nefol hîn,
Mi glywa'r adar mân;
'Nawr yn ymbyncio'n felus iawn,
Y waredigol gân.

3 Aeth heibio'r gauaf chwerw du;
Y 'storom oer a'r gwlaw;
Ac fe nesaodd hyfryd haul
Cyfiawnder pur gerllaw.

4 Mae'r haul yn ddysglaer yn y nef,
Cyfiawnder dwyfol ddyn;
Ac mae'n t'wynu yn hyfryd iawn,
Ar bob drylliedig un. W.

## HYMN CCXLVII. (M. C.)

*Cyd-glodforedd y gwaredigion.*

1 MAE brodyr i mi aeth y'mlaen,
Yn holl-iach, a chytun:
Deng mîl o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

2 Mae pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes;
Yn moli'r Duwdod yn y Dyn,
A chofio angeu loes.

3 Ni theimlir yno unrhyw boen,
Na chwyno gan un clwy';
Ond pawb mewn hwyl 'n moli'r Oen,
I dragwyddoldeb mwy.

4 Daw'r holl dduwiolion yno y'nghyd,
O'r gogledd, dê', heb ri';
A'u holl gadwynau'n chwilfriw mân,
A'u cân am Galfari. W. W.

## HYMN CCXLVIII. (M. C.)

*Y Cyfammod hedd.*

1 MAE addewidion melus wledd,
Yn gyflawn ac yn rhad,
Yn dy gyfammod pur o hedd,
Tragwyddol ei barhad.

2 'Rwyf finau yn dymuno dod,
I'r wledd ddanteithiol fras;
Ac felly mi gaf seinio clod,
Am ryfedd rym dy ras.

3 O rhwyma fi wrth byst dy byrth,
I aros tra fwy' byw,
I edrych ar dy wedd a'th wyrth,
A'th foli di fy Nuw. T. J.

5 A phan fo'u hymchwydd yn cryfhau,
Fy angor sicr yw,
Y dof yn ddyogel drwyddynt oll,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

6 I mewn i'r porthladd tawel clyd,
O swn y 'storm a'i chlyw,
Y caf fynediad llon ryw ddydd,
Fy Nhad sydd wrth y llyw. E. E.

## HYMN CCLIII. (M. C.)

*Cyd-glodforedd y gwaredigion.*

1 CYD-GANWN âg angelion glân,
O flaen yr orsedd mwy:
Tafodau fyrdd sy'n seinio cân,
Ond un eu testyn hwy.

2 Teilwng yw'r Oen byth, medd y rhai'n,
O'r clod, a'r parch, a'r bri:
Teilwng yw'r Oen, atebwn sain;
A'i waed fe'n prynodd ni.

3 Iesu sydd deilwng byth i gael,
Urddas, a nerth, a chlod:
Bendithion fyrdd i'n Harglwydd hael,
Byth, byth a fyddo'n bod.

4 Cyd-ganed nef a daear lawr,
Glodforedd per di boen,
I'r hwn sydd ar yr orsedd fawr,
A mawl di lyth i'r Oen. P. J

## HYMN CCLIV. (M. C.)

*Emyn y coroniad.*

1 CLODFORWCH enw Mab [illegible] Ion,
Angelion gwynion gwawr;
O deuwch a choronwch Ef,
Yn *Llywydd* nef a llawr.

2 Seraphiaid nef, pob un â'i dant,
Dan ganu moliant mawr,
O deuwch, a choronwch Ef,
Yn Llywydd nef a llawr.

3 Ei chwerwaf angeu, byth na bo
I'w saint anghofio'n awr;
O deuwch, a choronwch Ef,
Yn Llywydd nef a llawr.

4 Pob llwyth ac iaith, hil Adda i gyd,
Trwy'r holl gwmpasfyd mawr;
O deuwch, a chyhoeddwch Ef,
Yn Llywydd nef a llawr. IAGO.

## HYMN CCLV. (M. C.)

*Erfyniad ym yr Ysbryd Glân.*

1 O NEFOL awel chwyth yn awr,
Mae bellach yn hwyrhau;
Er mwyn dy enw Arglwydd mawr,
O tyred i'n bywhau.

2 O ddwyfol anorchfygol nerth,
Datguddia'r Aberth mawr:
Rhinwedd y gwaed, yr Iawn, y gwerth,
Datguddia i ni'n awr.

3 O wir Ddyddanydd Eglwys Dduw,
Preswylia yn ein plith:
Ac arwain ni fel byddom byw,
O dan dy nefol wlith. R. J. LL—LL.

## HYMN CCLVI. (M. B.)

*Cyflawnder yr iachawdwriaeth.*

1 MAE'R iachawdwriaeth rad,
Yn ddigon i bob rhai;
Agorwyd ffynnon er glanhad,
Pob pechod cas a bai.

2 Daw tyrfa rif y gwlith,
Yn iach trwy rin y gwaed:
Pwy wyr na byddaf yn eu plith,
Yn lân o'm pen i'm traed.

3 Er lleted yw fy mhla,
Er dyfned yw fy mriw,
Y balm o Gilead a'm hiachâ,
Mae Crist yn feddyg gwiw.

4 Dan bwys euogrwydd du,
Edrychaf tua'r groes,
Lle llifodd gwaed fy Mhriod cu,
Anfeidrol Iawn a roes.

## MYMN CCLVII. (M. B.)

*Achos ac effeithiau angeu Crist.*

1 A I am fy meiau i,
Dyoddefodd Iesu mawr,
Pan ddaeth yn ngrym ei gariad Ef,
O entrych nef i lawr?

2 Cyflawnai'r gyfraith bur,
Cyfiawnder gafodd Iawn;
A'r dyled mawr, er cymaint oedd,
A dalodd Ef yn llawn.

3 Dyoddefodd angeu loes,
Yn ufudd ar y bryn;
A'i waed a ylch yr Ethiop du,
Yn lân fel eira gwyn.

4 Bu'n angeu i'n hangeu ni,
Wrth farw ar y pren;
A thrwy ei waed y dygir llu,
*Trwy* angeu i'r nefoedd wen.

4 Pan grymodd Iesu ei ben,
Wrth farw yn ein lle,
Agorodd ffordd, pan rwygai'r llen,
I bur drigfanan'r ne'.

5 Gorchfygodd uffern ddu,
Gwnaeth ben y sarph yn friw;
O'r carchar caeth y dygir llu,
Trwy ras i deulu Duw. J. E.

## HYMN CCLVIII. (M. B.)

*Crist yn rhagori ar y Cysgodau.*

1 NIS gallai gwaed yr holl
Aberthau i gyd o'r bron,
Roi heddwch i'r gydwybod ddu,
Na golchi brynti hon.

2 Ond Crist y nefol Oen,
A ddyg bechodau'r byd;
Ei aberth Ef, a'i waed sy fwy,
Na phwysau'r rhai'n i gyd.

3 Af ato fel yr wyf,
I 'mofyn am iachad;
A'm holl bechodau addef wnaf,
Yn isel wrth ei draed.

4 Mae gobaith f'enaid gwan,
Fy hyder a fy ffydd,
Yn gwir ymorphwys ar ei waed,
Am lwyr lanhad ryw ddydd.

5 Gwnaeth Iesu gymmod llawn,
Dyoddefodd angeu loes;
Y clod didrai, y mawl dilyth,
Fo byth am waed y groes. D. T.

## HYMN CCLIX. (M. B.)

*Cariad anfeidrol Duw.*

1 CYDUNED Sïon lân,
Mewn can bereiddia'i blas,
O fawl am drugareddau'r Ion,
Ei roddion Ef a'i ras.

2 P'le gwelir cariad fel
Ei ryfedd gariad Ef?
P'le bu cyffelyb iddo 'rioed,
Rhyfeddod nef y nef!

3 Fe'n carodd cyn ein bod,
A'i briod Fab a roes,
Yn ol ammodau hen y llw,
I farw ar y groes.

4 Gwnaeth Iesu berffaith Iawn,
Brydnawn ar Galfari;
Yn ei gyfiawnder pur dilyth,
Mae noddfa byth i ni.

5 Anfeidrol ydyw gwerth,
A rhin ei aberth mawr,
I achub rhyw aneirif lu,
O deulu gwael y llawr.

6 Y rhai yn berffaith lân,
A beraidd gân i gyd,
I'r bendigedig unig Oen,
Yn iach o boen y byd.

IAGO.

## HYMN CCLX. (M. C.)

*Yr achos dirwestol.*

1 I BWY mae gwarth ar goedd,
A bloedd a dadwrdd blin?
Ac ochain trwm i bwy y mae,
A gwae, ond yfwyr gwin?

2 Ni chwynwn byth ar ol,
Gwlybyroedd meddwol mwy:
I'w gwrthod oll rhoddasom law;
Pwy etto ddaw? O! pwy?

3 Myrddiynau dros y byd,
O'n cyd-ddirwestwyr ceir;
O'u meddwdod blin, trwy ddirwest dêg,
Ychwaneg a iachêir.

4 Y Jubili a ddaeth,
Er rhoddi'r caeth yn rhydd:
Cyd-lawenhawn ddirwestwyr da;
Hosanna! dyma'r dydd. P. J.

## HYMN CCLXI. (10. 8.)

*Dyogelwch yn angeu'r groes.*

1 NID oes, ni fu, ni ddaw, mewn unrhyw oes,
O gymaint gwerth a gwaed y groes,
Y ddwyfol loes ddyoddefodd Ef;
O gariad mawr diderfyn 'stor,
Sy fel y môr mewn dwyfol lef.

2 O pwy, ymguddiodd yn dy ddwyfol glwy,'
Ac yna fethodd dori trwy?
Gystuddiau mwy na gwellt y maes;
Mae'r fuddugoliaeth fawr yn dod,
Hyd yma erioed oddiwrth dy ras.

3 Nid oes a ddeil fy ysbryd dan bob croes,
Ond dwyfol nefol farwol loes,
Estyniad f'oes, yw ei fwynhau;
'Does arall gysur mewn un man,
Fe yw fy rhan byth i barhau. W. W.

## HYMN CCLXII. (10. 8.)

*Anfeidrol gariad Crist.*

1 O PWY, all chwilio dyfais dwyfol glwy',
Sy'n anchwiliadwy hollol trwy,

Bob darn o hono oll i gyd ?
Dyfnderau mawr ei gariad ef,
Ddadseinia'r nef, pan ddarffo'r byd.

2 'Does dim, o tan y nefoedd fawr o rym,
A'm deil i'r lan tan gystudd llym,
Ond cariad pur fy Arglwydd cu ;
A hwn a'm nertha i fyn'd yn mlaen,
Trwy ddwr a thân, i'r nefoedd fry.

3 Mwy mwy, yw buddugoliaeth dwyfol glwy,
A'i goncwest helaeth gyrhaedd trwy,
Galonau mwy na rhif y gwlith ;
Yn nydd ei nerth y gwanaf un,
Wrtho a lŷn yn ffyddlon byth. W. W.

## HYMN CCLXIII. (10. 8.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 EI glod, sydd heb un terfyn iddo'n bod,
O aed y'mlaen fwy nag erioed,
O gwmpas rhod y ddaear fawr;
Nes elo swn efengyl bur,
I dori'n glir, fyrddiynau i lawr.

2 Mae mae, rhyw hiraeth ynwy' yn parhau,
Am wel'd yr amser hyny'n glau,
Y pryd y mae fy Arglwydd rhad,
I dderbyn ei ogoniant mawr,
Gan nef a llawr am roddi ei waed.

3 O 'nawr, addfwynaf Iesu tyr'd i lawr,
Helaetha dy freniniaeth fawr ;
C'od ddedwydd awr iachusol ddydd ;
Rho'r carcharorion fyn'd i maes,
O'r pydew cas heb ddwfr y sydd. W. W.

## HYMN CCLXIV. (10. 8.)

*Dedwyddwch y nef.*

1 Y MAE, y dydd yn dod i'r duwiol rai,
*I felys foli* Duw'n ddi-drai

Y'mhlith y rhai sydd fry mewn hêdd;
I'r addfwyn Oen, yn canu'n rhwydd,
Ac yn ei ŵydd, cael gwel'd ei wêdd. W. W.

2 Mae, mae, yr amser hyfryd yn neshau,
Pan gaffo'm henaid ei ryddhau,
O'm tŷ o glai, fyn'd tu a'm gwlad:
Nid yma mae 'ngorphwysfa i,
Mae hòno frŷ, yn nhŷ fy Nhad.

3 Gwlad, gwlad, o'r lle 'rwy'n dysgwyl llwyr ryddhad,
O law 'ngelynion mawr eu brâd,
Trwy rinwedd gwaed, fy Iesu gwiw;
'Does gelyn mwy a ddaw i'r làn,
I'r hyfryd fan, ar fyr câf fyw.

4 Gwledd, gwledd, o fywyd, a thragwyddol hêdd,
Sydd yn y byd tu draw i'r bedd;
Ond hardd fydd gwedd y dyrfa i gyd
Sy'n byw ar haeddiant gwaed yr Oen,
O sŵn y boen, sydd yn y byd. G.

## HYMN CCLXV. (10. 8.)

*Hiraethu am wlad well.*

1 BRAINT, braint, yw cael cymdeithas gyda'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint,
Ni ddaw un haint, fyth iddynt hwy;
Y mae'r gymdeithas yma'n gref,
Ond yn y nef, hi fydd yn fwy.

2 Daw, daw, fy Iesu i'm harwain yn ei law,
O'r anial drwg, i'r ardal draw,
I'r bywyd dystaw, pur, di-boen:
Câf ganu'n llafar gyda'r llu,
Gân Moses fry, a chân yr Oen.

3 Ni ddaw, na phoen na gofid, och, na braw,
I neb o'r saint yr ochr draw,
Dont yn ei law, i'r hyfryd wlad:
*I seinio i dragwyddoldeb mwy,*
*Am farwol glwy'*, ac am y gwaed. G.

## HYMN CCLXVI. (10. 8.)

*Cariad Crist.*

1 CLOD, clôd, i'r hwn a'm carodd cyn fy môd,
Mae'm llêf am ddilyn ol ei droed,
Nes im' gael dod, i'w dawel hedd:
I'r lle mae llawnder ar bob llaw,
Heb boen na braw, tu draw i'r bêdd.

2 Efe a'm carodd cyn sylfaenu'r ne',
Aeth dan law'r lleiddiaid yn fy lle;
Ei haeddiant e' sy'n awr o'm tu,
I deithio'r ffordd i'r nef yn lân,
Af trwyddo y'mlaen, i'r Ganaan fry.

3 Pa le y gwnaf fy noddfa dan y ne',
Ond yn ei glwyfau anwyl e':
Y bicell gre' aeth dan ei fron,
Agorodd ffynnon i'm glanhau,
'Rwy'n llawenhau, fod lle yn hon. G.

## HYMN CCLXVII. (10. 8.)

*Llawenydd y gwaredigion.*

1 BYDD, bydd, yn llawen Sïon, daeth y dydd,
I gael o'r diwedd fyn'd yn rhydd;
Wele, dy Frenin wedi dod,
Dy holl elynion sydd mewn braw;
Gwna ol ei law, boed iddo'r clôd.

2 Daw dydd, y cân y dinasyddion sydd,
Gan rym y don, a'u bron yn brudd;
Y bore tawel sydd ger llaw,
Ac yno bydd soniarus dôn,
O fawl i'r Oen, heb boen na braw.

3 Bydd, bydd, llawenydd na raid bod yn brudd.
I bawb sy'n meddu bywiol ffydd;
Can's dyma'r dydd bydd gweiddi, dewch,
Chwi fendigedig blant fy Nhad,
*I'r nefol* wlad, o'i rad yr ewch. G.

## HYMN CCLXVIII. (10. 8.)

*Cân y nefolion.*

1 FE gân, y gwaredigion fawr a mân,
Dragwyddol glôd i'w Prïod glân,
Pan ddelo'r tân i losgi'r tîr:
Cânt godi eu penau a llawenhau,
Ei poenus wae, â heibio'n wir.

2 Eu cân, fydd am Galfaria fawr a mân,
Ac oll yn gariad, oll yn dân;
Yn gwel'd yn lân, lwyr gwblhau,
Bob gair a ddaeth o'i enau ef,
A'i gariad ef byth yn parhau.

3 Mae braint, yn awr yn eiddo i bawb o'r saint,
'Does dafod fyth fynega ei maint;
Can's dianc wnant o wlad y boen,
I'r fythol wledd, o faith barhad,
Bwrcasodd gwaed yr addfwyn Oen. G.

## HYMN CCLXIX. (10. 8.)

*Hiraethu am ollyngdod.*

1 DAETH trwy, fy Iesu glân, a'i farwol glwy,
Fendithion fyrdd, daw etto fwy,
Mae ynddo faith, ddiderfyn stor;
Ni gawsom rai defnynau i lawr,
Beth am yr awr, cawn fyn'd i'r môr!

2 Does mwy, ar ol pob gwledd ond aml glwy',
A thristwch yn y byd lle 'rwy';
Mae hiraeth trwy fy enaid cu,
Am fy rhyddhau o faich y cnawd,
'Fynd at fy Mrawd, a'm Priod fry.

3 Brydnawn, ar y ddedwyddaf awr a gawn,
Y talodd Iesu'n eitha' llawn,
Y dwyfol iawn, i'm hanwyl Dad;
Palmantodd ffordd o Galfari,
I'r nefoedd fry trwy rin ei waed. G.

## HYMN CCLXX. (10. 8.)

*Crist a'i ddyweddi.*

1 MAE'N awr yn eistedd ar yr orsedd fawr,
Yn Arglwydd uffern, nef, a llawr,
Hyd fore wawr yr olaf ddydd;
Pan ollyngo ei ddyweddi ddrud,
O lwch y byd, yn berffaith rydd.

2 Yn wir, pryd hyn fe eilw ei briod bur,
Tyr'd yma i mewn i'th nefol dir,
'Roed i ti'n hir, cyn seiliad byd;
Dy etifeddiaeth nefol yw,
Gwerth gwaed dy Dduw, a'i boenau drud.

3 Y rhai'n, a wisgir oll a lliain main;
Telynau sydd, o beraidd sain,
I ganu Anthem faith o glod
I'r hwn fydd yn teyrnasu mwy,
Fe gafodd glwy', fe oedd erioed.

4 'Fydd son, am alar, gruddfan, gwae, na phoen,
Yn nghwmni'r addfwyn anwyl Oen,
O fewn i Sïon sanctaidd fry:
Ond yfed dyfroedd dwyfol clir,
A ddaeth yn wir, o Galfari. G.

## HYMN CCLXXI. (10. 8.)

*Mawl yr Oen.*

1 CLOD, clod, i'r Oen a laddwyd cyn fy mod,
Y parch, a'r mawl i'w enw boed;
Am iddo 'rioed, o'i gariad rhad,
Roi serch ar wael syrthiedig ddyn,
Mawr iawn yw rhin, ei ddwyfol waed.

2 Daw dydd, i'r carcharorion fyn'd yn rhydd,
O'u holl gadwynau tynion sydd,
Mor felys fydd, eu caniad hwy;
Am ddyoddefaint addfwyn Oen,
*Bydd hyfryd son,* heb ddiwedd mwy.

3 Daw, daw, yr hyfryd fore, mae gerllaw,
Bydd pawb a'i delyn yn ei law,
Heb ofn na braw, yn nghwmni'r Oen,
Ond canu i dragwyddoldeb maith,
Ar ben y daith, heb friw na phoen.

4 Mae, mae, ein Harglwydd hael yn trugarhau,
Ei rad drugaredd sy'n parhau;
Nis gallwn lai na'i foli'n awr,
Am iddo'n dwyn i oleu'r dydd,
A'n tynu'n rhydd, o'r cystudd mawr. G.

## HYMN CCLXXII. (10. 8.)

*Ffydd yn ngwaed yr Oen.*

1 TRWY ffydd, yn ngwaed yr Oen i'n gwnaed yn rhydd,
O'n carchar a'n caethiwed prudd;
Ond ein Mechnïydd, fe'i daliwyd e'
I ateb holl ofynion Duw,
Rhyfeddol yw aeth yn ein lle.

2 Yn lle, y dynion gwaetha dan y ne',
Yr Oen difai, dyoddefodd e';
A hyn wy'n ddadleu, f'anwyl Dduw:
A than ei gysgod, gwnaf fy nyth,
Mi a'i caraf byth, tra byddwyf byw.

3 Byw byw, yw'r Iesu'm ffrynd, a'm Prynwr gwiw,
Er iddo gynt gael marwol friw:
A sicr yw, mai byw wna'r saint;
O herwydd bod eu Ceidwad cu,
Yn eiriol fry, rhyfeddol fraint.

4 Braint, braint, 'does neb a all fynegi ei maint,
Yw bod yn un o'r ffyddlon saint;
Pan ddel digofaint Duw ryw ddydd,
Ar rai digred, fel tymhestl gre',
Y duwiol fe, diangol fydd.

5 Parhau mae cariad Duw i'w anwyl rai,
Hwy gant yn wastad ei fwynhau,
Heb achwyn trai yr ochr draw:
O na bawn gydag ef yn byw,
Fy Mhriod yw, pa pryd y daw? G.

## MYMN CCLXXIII. (10. 8.)

*Canu am rad ras.*

1 BYDD, bydd, rhyw ganu peraidd iawn ryw ddydd,
Pan ddelo'r caethion oll yn rhydd,
Fe droir eu ffydd yn olwg fry,
Cydunant byth heb dewi a sôn,
I foli'r Oen fu ar Galfari.

2 Ond gwledd, sydd etto'n bod tu draw i'r bedd,
Dros byth i'w chael i'r gwael eu gwedd;
Lle bydd caniadau maith di-ri',
I bara beunydd yn ddi-boen,
Gan foli'r Oen fu ar Galfari.

3 Golch ni, oddiwrth ein beiau aml ri',
Yn afon werthfawr Calfari,
Sydd heddyw yn llif o haeddiant llawn:
Er cymaint ein haflendid ni,
Yn dorf ddi-ri' ein golchi a gawn.

4 Rhad ras yw'r newydd gân, bereiddia ei blas,
Fu 'rioed ar wyneb daear lâs;
Hi ddeil ei blas, pan losgo'r byd,
A berwi'r môr a'i donau yn dân,
Y nefol gân, fydd gras i gyd.

5 Mae'r awr i'm gael yn llwyr fy meiau i'r llawr,
Yn mwriad fy Eiriolwr mawr:
Bu farw ef, caf finau fyw,
Er amled yw 'ngelynion cas,
*Mae newydd flas* ar air fy Nuw. G.

## HYMN CCLXXIV. (10. 8.)

*Effeithiau dyoddefaint Crist.*

1 GWYCH sain, fydd eto am y goron ddrain,
Yr hoelion llym, a'r bicell fain,
Wrth gofio rhai'n caiff uffern glwy';
Carcharau tynion aeth yn rhydd,
Fe gaed y dydd, Hosanna mwy.

2 Gras, gras, yn genllif grymus ddaeth i maes,
Grisialaidd afon loyw las,
Rhinweddol flas i'r euog rai;
Lle i bechaduriaid yma gaed,
I'w cànu'n rhad oddiwrth bob bai.

3 I'r làn os bydd in' ddod o'r anial fàn,
Bydd hyfryd seinio yn y màn,
Pawb yn ei ran yn moli'r Oen,
Mewn melys anthem, newydd iaith,
Ar ben y daith heb friw na phoen. J. R.

## HYMN CCLXXV. (10. 8.)

*Effaith croes Crist.*

1 AED, aed, y newydd am y dwyfol waed,
Nes golchi myrdd o'r dua gaed,
O'u pen i'w traed yn hardd a gwyn,
Fel byddo'r nef a'r ddaear las
Yn dadsain gras, Calfaria fryn.

2 Mawr, mawr, yw grym llewyrchiad nefol wawr;
Try'r nos yn ddydd ar blant y llawr,
Mae'r goleu'n awr yn nerthol wir;
Ond rhagddo'r â hyd hanner dydd;
Pur oleu fydd mewn nefol dir.

3 Pwy, pwy, rydd ddim yn erbyn rhei'ny mwy,
Ymguddiodd yn ei ddwyfol glwy'?
Eu dyled hwy gorphenodd ef,
Ei thalu'n llwyr ar ben y bryn;
Ni bledïwn hyn o flaen y nef. T. J.

## HYMN CCLXXVI. (10. 8.)

*Hyder ffydd.*

1 TRWY, trwy, fy Iesu gwiw a'i farwol glwy',
Y'mlaen yr âf, ymlòni'r wy',
Nac achwyn mwy fy enaid gwan;
Er llid y ddraig a daear lawr,
Fy Arglwydd mawr a'm deil i'r lan.



2 Er bod, blinderau mynych îs y rhod,
Fy Iesu a'm ceidw dan ei nod;
Er mwyn ei glod a'i enw glân,
Rhydd goncwest lawn i'r llesg a'r llaith,
Ar luoedd maith yn fawr a mân.

3 Draw, draw, o gyrhaedd pechod, poen, a braw,
Caf orphwys ar ei ddeheulaw;
Mewn gwlad na ddaw un saeth na chlwy',
Pan ymddatodo'm tŷ o bridd;
Caf fod yn rhydd heb ofni mwy. T. J.

## HYMN CCLXXVII. (10. 8.)

*Goruchafiaeth croes Crist.*

1 DAL fi, er fy ngelynion aml eu rhi,
A'm golwg tua Chalfari,
A gwrando gri fy enaid gwan,
Mewn gorthrymderau o bob rhyw:
Trwy allu Duw y dof i'r lan.

2 Nef, nef, yw llewyrch gras ei wyneb ef,
A chymhorth ei ddeheulaw gref;
O flaen ei lef rhyfeddol yw,
Ffy holl fyddinoedd uffern fawr:
Trwy ras 'rwy 'nawr hyd yma'n fyw.

3 Efe, yw f'unig noddfa dan y nef,
Yn wyneb gallu uffern gref,
Ac onidê fy enaid gwiw,
Soddasai yn y ffos i lawr:
Ond d'wedai'n awr, 'rwyf etto'n fyw.

Y mae'r byd oll i gyd
A'i wag deganau,
Wedi rhedeg o'u meddyliau,
Wrth gael ergyd marwol angeu.

3 Nid rhaid ofni'r cystudd chwerw,
Croes rhagluniaeth mwy na marw;
Nid rhaid ofni'r cryd na'r dwymyn
Farwol boeth yn llys y Brenin;
Y mae golwg ar ddysgleirdeb,
Duw, yn mhalas tragwyddoldeb
Yn dwyn hedd, nefol wledd,
Rhyw angof hyfryd,
O bob poen, a gwae, a gofid,
Gawsant yma yn eu bywyd.

4 Rhan o'u pleser hyfryd heddy'
Ydyw canmawl a rhyfeddu;
Torf gerubiaid yn llawn bywyd
Sydd yn ledio'r anthem hyfryd;
Hwythau yn taro' mewn yn ëon,
Nôt am nôt a'i gadw yn gyson,
Nefol dân, saint sy ar y blaen,
Saint ga's eu prynu!
Hwy yw'r dyrfa ddaeth i fynu
O'r caethiwed wedi maeddu. W. W.

## HYMN CCLXXXI. (M. N.)

*Rhinweddau aberth Crist.*

1 RWY'N rhoi mhechod, 'rwy'n rhoi nghamwedd,
'Nawr yn gryno wrth dy orsedd;
Maddeu i'r brwnt, a maddeu i'r aflan,
Sydd o flaen y fainc yn gruddfan;
Maith drugaredd wyf yn bledio
Darfu haeddiant dyn yn gryno;
Nid oes dim, noddfa im'
Rhag grym yr angeu,
Ond yr aberth wnaed er's dyddiau
Ar Galfaria tros bechodau.

2 Dacw'r ffynnon bur hawddgara,
Gànodd filoedd fel yr eira;
Dacw'r nant, a dacw'r afon,
Sydd yn genllif o gysuron:
Dacw'r dwr, mi gwympaf iddo,
Doed o honwy'r peth a ddelo;
Bellach mwy, treiddiaf trwy,
Filoedd o ofnau;
Mwy yw'r hwn a fu yn dyoddeu,
Nag aneirif faint fy meiau.

3 Fel un faeddwyd wyf yn gymhwys,
Etto a'm gobaith am baradwys:
Mae fy chwant, ac mae fy nwydau,
Yn fy nwyn tros bob terfynau;
Etto mae yma ryw afaelon,
Am dorfeydd o addewidion,
Deued gras, foreu glas,
Hyfryd i'w weled,
Tored rwydau, a gwareded
F' enaid euog o gaethiwed. W. W.

## HYMN CCLXXXII. (M. N.)

*Golwg ar yr ochr draw.*

1 O! NA roddai f' Arglwydd tirion,
Ronyn trai ar ddwr yr afon;
Fel y gallai'r gwan fyn'd trosodd,
Heb ei foddi yn y dyfroedd;
O'r Iorddonen angeu chwerw!
Dyna fy ofn, ofni hwnw;
Onidê nawr i'r ne',
Brefwn am fyned,
Can's mi flinais o'm caethiwed,
Tan elynion dewrion diried.

2 'Dyw fy ngwaith, nid yw fy noniau,
Ond rhyw sorod heb eu heisiau;
Bedd i'm puro oddiwrth fy mrynti,
Yw'r hyn 'berthyn, oreu i mi;
Pridd i'r pridd, a lludw i'r lludw,
*'Madrodd hyfryd ydyw hwnw,*

Iddynt hwy, sydd dan glwy'
Pechod yn gyson,
Ac yn methu trwy bob moddion
Glirio gwaelod eu harchollion. W. W.

3 Pan dderchafwyf i'm hardd drigfa,
I wel'd gogoniant y Messiah;
Pa fath olwg nefol hyfryd,
A fydd ar D'wysog mawr y bywyd ?
A ydyw ol yr hoelion yno,
Yn ei draed, ac yn ei ddwylo ?
Ni holai'n hwy, caf weled mwy,
Dirgelwch 'rwy'n credu,
Yn y Drindod a rhyfeddu,
Nag all calon dyn ddych'mygu G.

## HYMN CCLXXXIII. (M. N.)

*Hiriaethu am wlad well.*

1 'RWYF fi'n myn'd i wlad i drigo,
Lle mae gloyw ras yn llifo;
At gyfeillion mil mwy hawddgar,
Na neb welwyd ar y ddaear:
Lle mae cyfoeth heb un terfyn,
Pleser nefol, dwyfol dirfyn,
Y'ngwydd yr Oen, heb ddim poen,
Pechod nac adfyd,
Ond ymborthi ar wleddoedd hyfryd,
Fyth, ac fyth yn nhir y bywyd.

2 Llid nag un genfigen hefyd,
Fyth ni ddaw i drothwy'r bywyd;
Ni ddaw'r ymadrodd coeg a'r celwydd,
Ddim o fewn paradwys newydd:
Tafod wedi ei lwyr sancteiddio,
Llygad wedi ei berffaith buro,
Sy'n y wlad, gyda Nhad,
Anwyl yn trigo,
'Rwyf fi yma wedi blino,
Hiraeth sy arna'i am fyn'd yno.

3 Bellach gorfoledda fy enaid,
'Rwyt ar ddianc o'th gaethiwed:
Fe agorwyd rhydiau'r afon,
Y mae'r arch o'th flaen yn gyson:
Cadw afael pan ddel galwad,
Gadarn yn dy Archoffeiriad:
Dos i'r dwr, cryf yw'r gwr
Sydd yn dy dderbyn,
Ti ai trosodd yn mhen gronyn,
Mewn i'r wlad 'rys yn dy erfyn. W. W.

## HYMN CCLXXXIV. (8. 6. 6.)

*Gweddi a hyder y Cristion.*

1 IESU 'Mrenin mawr, a 'Mhriod,
Bydd wrth raid i mi'n blaid
I orchfygu pechod.

2 Pâr i'm aros mwy'n dy freichiau,
Boed fy nyth, ddedwydd byth,
Yn dy ddilyth glwyfau.

3 Hiraeth sy ar fy nghalon dyner,
Wel'd y dydd, fyn'd yn rhydd,
Maes o'm poen a'm blinder.

4 Gwna fi farw, farw'n ddiau,
Marw i'r byd, 'nawr yn nghyd,
A'i holl wael bleserau.

5 Iesu helpa f' enaid ddringo
'Nawr i'r lan tua'r man,
Y ca'i byth breswylio.

6 Gwynfyd a fae heddyw'n canu,
'Mhlith y llu, sanctaidd fry,
*Sydd wedi gorchfygu.* W. W.

## HYMN CCLXXXV. (8. 6. 6.)

*Emyn boreuol.*

1 DEFFRO f'enaid, deffro yn ufudd,
C'od yn awr gyda'r wawr,
Seinia ganiad newydd.

2 F'enaid bach, gas huno'n gynnes;
Yn ddiloes, tros y nos,
Yn dy ddiddos fynwes.

3 Dan dy aden, dawel dyner,
Ces heb wyn, hyfryd hun:
Buddiol fu'm hesmwythder.

4 Heddyw rho fy mhwys ar ddwyfron,
Iesu gwiw, 'm Tywysog yw,
Rhag pob rhyw elynion.

5 Hyfryd fore o gaethiwed,
Wawria draw, maes o law,
Iesu ddaw i'n gwared.

6 Uwch creaduriaid, Iesu cadw,
F'enaid llon, ar dy fron,
Dirion, nes fy marw. W. W.

## HYMN CCLXXXVI. (6. 4. 6.)

*Darostyngiad a dyrchafiad Crist.*

1 RHYFEDDA hyd a lled, fy enaid trist,
Uchder a dyfnder maith, marwolaeth Crist!
Pan gym'rodd agwedd gwas, a phechod cas ei blant,
Trwy farw yn ddigŵyn, i'w dwyn i bant.

2 Fe gymerth arno'n cnawd, (O ein Brawd ni!)
Fe safai ar ben y bryn, gwnai'n erbyn llu;
Gan sathru dan ein traed, trwy'i briod waed ei hun,
Ellyllon ar fyr dro, heb ado'r un.

3 F'aeth tan y gyfraith faith, hedd ddaeth i ni;
Mwy t'raned Sinai gaeth, beth waeth geni'?
Mae'r llwybr idd' ei gol, yn rhydd i'r nefol had:
Ni feder Satan serth, ddwyn werth ei waed.

4 Fe dalai i lawr ar led, ein dyled ni,
Trwy ddyodde' angeu ar, ben Calfari:
A hyn o'i 'wyllys rhydd, can's gwela'i ddydd yn dod,
Ca'i 'lynion cryf a gwan, lawr tan ei droed.

5 'Nol rhoddi'n Harglwydd hael, yn wael ei wedd,
Rhyfeddod mwya' 'rioed, yn ngwaelod bedd;
Ond ar y trydydd dydd, yn rhydd yr aeth efe:
Palmantodd lwybr gwych, i entrych ne'.

6 'Nol gorphen ar ei waith, i'r nef 'raeth ef;
Lle mae e' yr awr hon, yn gwrando'n llef;
Yn eiriol drosom draw, ar fyr fe ddaw'n rhyddhau;
Mae'r amser ddydd a nos, yn agoshau. W. W.

## HYMN CCLXXXVII. (6. 4. 6.)

*"Y man lle gorweddodd yr Arglwydd."*

1 NID allodd angeu du, ddal Iesu'n gaeth,
Ddim hwy na'r trydydd dydd, yn rhydd y daeth;
Ni ddelir un o'i blant, er myn'd i bant y bedd,
Fe'u gwelir ger ei fron, yn llon eu gwedd.

2 Wrth wel'd yr angeu du, yn nesu'n awr,
Rwy'n ofni ambell dro, wrth gofio'r awr:
Pan gwelwy'r gwaith trwy ffydd, y trydydd dydd
'wnaeth Duw,
Mae 'ngobaith yn fwy cry', 'doi fynu'n fyw.

3 Er pydru y'ngwaelod bedd, yn farwedd fud,
Daw'r Iesu i'm codi'n llon, ger bron ryw bryd!
A'm llygaid inau a'i gwel, mae'r gair dan sel yn wir,
Ar newydd ddedwydd ddydd, boreu-ddydd clir.

4 Pan bu fy Arglwydd mawr, yn llawr y bedd,
Cynhesodd wely i mi, rhag oeri'm gwedd:
Yn rhydd ryw ddydd a ddaw, rhowch fi a'ch llaw'n 'run lle,
Rwy'n caru er yn wan, y fan bu 'fe. G.

## HYMN CCLXXXVIII. (6. 4. 6.)

*Rhyfedd ras.*

1 DAETH ffrydiau melys iawn, yn llawn fel lli',
O ffrwyth yr arfaeth fawr, yn awr i ni:
Hen iachawdwriaeth glir, aeth dros y crindir cras;
Bendithion ammod hedd: O ryfedd ras!

2 Fe gymerth Iesu pur, ein natur ni;
Ennillodd ef i'w saint, bob braint a bri:
Gadawai'r nef o'i fodd, fe gym'rodd agwedd gwas:
Ffrwyth y cyfammod hedd: O ryfedd ras!

3 Wrth orphwys ar yr Iawn, ni gawn i gyd,
Felysion ffrwythau'r groes, drwy'n hoes o hyd:
Mae yma hyfryd win, I flin o beraidd flas;
Maddeuant pur a hedd: O ryfedd ras!

4 Caed balm o archoll ddofn, y bicell fain;
Yn rawnwin ar y groes, fe droes y drain:
Dechreuwn fawl cyn hir, na flinir ar ei flas,
Am Iesu'r aberth hedd: O ryfedd ras! P. J.

## HYMN CCLXXXIX. (6. 4. 6.)

*Iesu yn blaid.*

1 FE gymerth Iesu blaid, trueiniaid trist;
Ysigodd ben y ddraig; ein craig yw Crist;
Cawn ninau fod yn bur, uwch cur a phechod cas,
Yn berffaith ar ei wedd: O ryfedd ras! P. J.

2 Boed i ni gael mwynhau, hyd angeu du,
O'th iachawdwriaeth rad, a'r cariad cu:
Can's dyma'r hyfryd win, I flin o beraidd flas,
Maddeuant pur a hedd, O ryfedd ras!

3 Ni phery'r anial maith, fy nhaith yn hir,
Caf fyned yn y man, i'r Ganaan dir:
Fe geidw Iesu ei saint, er cymaint llid eu cas,
Fe goncra'r gelyn llym, trwy rym ei ras.

4 Fe genir cyn bo hir, yn hir ei glod,
Rhyfeddu'r cariad fydd, y dydd sy'n d'od:
Dadseinier, iddo Ef, yn lân gan nefol lu,
Mynegant rinwedd gwaed, eu Ceidwad cu. G.

## HYMN CCXC. (8au.)

*" Cuddiaist dy wyneb a bum helbulus."*

1 CLAF wyf a llesg, bron llwfrhau,
Dy absenoldeb sydd fawr iawn,
Dy fod di cyhyd yn pellhau,
Sy'n peri im' ruddfan foreu a nawn;
Rho wel'd dy wedd fy Arglwydd cun,
Neu cymer fi'th breswylfa'th hun.

2 Wedi it' ddyodde' marwol glwy',
P'odd gelli attal nefol ras?
A chuddio'th gariad fwy na mwy,
Rhag llifo'n genllif pur i maes;
Rho wel'd, &c.

3 Dy gariad 'drychodd gyntaf lawr,
Pan ydoedd dyn yn lân ar goll,
'Doedd help i'w gael mewn nef na llawr,
Ond ynot dy hunan oll yn oll;
Rho wel'd, &c.

4 A fyddi mwy yn ddyeithr im',
A all cariad dwyfol pur didrai
Fy ngadael i elynion llym?
Neu yntau newid, neu lesgau;
Rho wel'd, &c. W. W.

## HYMN CCXCI. (8au.)

*Erfyniau am nerth yn ol y dydd.*

1 OS oedi'r wyt, beth wna'i â'r byd,
'Does dim ond tristwch, och, a gwae
O gŵr i'r llall gael ynddo 'gyd,
A rhyw ofidiau sy'n parhau;
Nerth bellach rho rhag im' lesghau,
Dy ras yw'm sylfaen o barhau.

2 Rhoi'st yn fy nghalon ruddfan cry',
Nad oes a'i tyn ef allan ddim,
Pob pleser îs na'r nefoedd fry
Sydd heddyw wedi colli eu grym:
Nerth bellach rho, &c.

3 Galar a phechod, colled, poen,
Yw oll a welwn yma yn un,
Gorphwysfa nid oes yma i'w gael,
Mewn dim ond ynot ti dy hun:
Nerth bellach rho, &c.

4 'Does yma un cynhaua' i'w gael;
Yn nhragwyddoldeb mae e' draw;
Pan ddel y sabbath perffaith hael,
Cawn addfed ffrwythau maes o law,
Nerth bellach rho, &c. W. W.

## HYMN CCXCII. (8au.)

*Yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef.*

1 O! DYMA syndod pena'r nef,
Yr Arglwydd fynai ddryllio ef.

Efe a'i clwyfodd ar y groes,
Daeth hedd i lawr drwy'i farwol loes;
Ystyried pechaduriaid hyn,
A chofiant am Galfaria fryn.

2 Am roddi ei einioes bur i lawr,
Bydd ffrwyth o hyn fel gwlith y wawr;
O'r bedd fe ga'dd estyniad oes,
Fe lwydda'i waith er marwol loes:
Ystyried pechaduriaid, &c.

3 Diwellir ef, fe wel ei hâd
Yn dod yn llu o bob rhyw wlad;
Gwybodaeth fel y boreu ddydd
A ddaw, a chyfiawnhad trwy ffydd:
Ystyried pechaduriaid, &c.

4 Am ddwyn holl felldith drom yn un,
Ein hanwireddau arno'i hun,
Efe a rana'r ysbail fawr,
Gan fwrw'r cedyrn beilch i'r llawr:
Ystyried pechaduriaid, &c.

5 Rhwng y troseddwyr ar y groes,
Dyoddefodd lid a marwol loes,
Ond, llefodd ar ei dad tan glwy',
" O! rho faddeuant iddynt hwy:"
Ystyried pechaduriaid, &c. R. J.

## HYMN CCXCIII. (7au.)

*Dymuniadau'r Cristion.*

1 ARGLWYDD ffoed cymylau mwy,
Grym euogrwydd damniol glwy';
Rho i mi brofi'th ddwyfol hedd,
Afon bur tu yma i'r bedd;
Fel y gallwyf ddydd a nos,
*Ymddigrifo* yn dy groes.

2 Oll a wela'i tan y ne',
Sy'n feunyddiol golli eu lle,
Angeu yn teyrnasu'n lân,
Ar greaduriaid fawr a mân,
Heno marw, heno bedd,
Fory codwn ar ei wedd.

3 Ffarwel bob peth yn y byd,
Twyll a gwagedd y'ch i gyd,
Y melysdra pena' gawn,
Gwenwyn du sy ynddo'n llawn,
Iesu 'does o nefol rin,
Ond dy wleddoedd di dy hun.

*4 Nid wy'n ceisio gan fy Nuw,
Heddyw hawddfyd o un rhyw,
Rho i mi feddu'th Ysbryd cun,
Llechu yn agos it' dy hun,
Ti gai'm cynnal tan bob croes,
Goleu ddydd neu dywyll nos.

5 Ac er lleied yw fy ngrym,
Tan dy aden ofna'i ddim;
Mymryn bach o'th gariad drud,
Sydd yn fwy nag uffern lid,
Gwel'd dy wedd, a chredu'th waith,
F'enaid ddod i ben ei daith. W. W.

---

## HYMN CCXCIV. (7au.)

*Cariad Crist.*

1 DACW gariad nefoedd wen,
Yn dysgleirio ar y pren;
Dacw daledigaeth lawn,
I ofynion trymion iawn,
Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minau gafodd wir iachad.

2 Wele'r llwybr heddyw'n glir,
Tua Chanaan hyfryd dir;
Y mae'r faner fawr yn mlaen,
Fy holl elynion cwympo wnan';
Rhed yr oriau eu rhif i maes,
Caf fyn'd trwy'r Iorddonen las.

3 Wele'r Ganaan hyfryd wiw,
Dyma'r ardal caf fi fyw,
Gwlad heb ofid, gwlad heb wae,
Gwleddoedd hyfryd i barhau,
Dwyfol gariad, dwyfol hedd,
Ga'i fwynhau tu draw i'r bedd.

4 Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minau gafodd wir iachad,
Darfu ymffrost mawr y byd,
Iesu bia'r clod i gyd;
Wrth ei draed dymunwn fyw,
Holl hapusrwydd fy enaid yw. W. W.

---

## HYMN CCXCV. (7au.)

*Ymnerthu yn ngras Crist.*

1 MAE ein taith i'r nefol fyd,
Trwy anialwch mawr ei hyd;
A bwystfilod ynddo'n llawn,
Oll i gyd yn greulon iawn;
Iesu nid oes ond dy ras,
Ddeil fy enaid trwyddo maes.

2 Nid yw'm pechod mawr ei rym,
At dy anfeidrol allu ddim:
Mwy dy bwer, mwy dy ras,
Na chyfrwysdra uffern gas;
*Ti goncweriaist* er dy glod
*Y gelynion* cryfa erioed.

2 Na foed un dyn îs y rhod,
Heb ddadseinio maes ei glod;
Na foed neb îs awyr las,
Heb gael prawf o'th nefol ras;
Doed y ddaear fawr yn gron,
Yfent ddwr y ffynnon hon.

3 Deffro f'enaid edrych draw,
Gwel Galfaria bell gerllaw;
Dacw'r hoel, a'r bicell fain,
Dacw'r goron bigog ddrain;
'Nawr yn gorwedd ar ei ben,
Cryned dae'r a dued nen.

4 Wele f'Arglwydd sydd mewn poen,
Ffrynd troseddwyr, addfwyn Oen;
Poen i angeu, poen at waed,
Balm o Gilead rydd iachad;
Ti Physygwr, perffaith Dduw,
Geidw f'enaid bach yn fyw.

5 O dy glwyfau rhed i maes,
Afon ddwyfol loyw las,
Sydd yn achub sy'n iachau,
Myrddiwn o'r aflanaf rai;
Ac yn rhoddi cyflawn hedd,
I rai tlota 'rioed eu gwedd. W. W

## HYMN CCXCIX. (7au.)

*Rhodio gyda Duw.*

1 BETH sydd i mi yn y byd?
Gorthrymderau mawr o hyd;
Gelyn ar ol gelyn sydd,
Yn fy nghlwyfo nos a dydd:
Meddyg archolledig rai,
Dere'n fuan i'm iachau.

2 O na allwn tra f'wyf byw,
Rodio bellach gyda Duw;
Treulio f'oriau iddo'n llwyr,
O foreuddydd hyd yr hwyr;
Canu am ei werthfawr waed,
Nes meddiannu'r nefol wlad. M. R.

## HYMN CCC. (7au.)

*Iachawdwriaeth yn destun cân.*

1 DYMA destun, f' enaid cân,
Ffynnon i dy olchi'n lân;
Meddyginiaeth gwedi 'chael
I bechadur tlawd a gwael;
Golchi'r Ethiop dua'n wyn:
Cenir am Galfaria fryn.

2 Dyma'r ffynnon, dowch bob un,
Gwelwch hoelio Mab y dyn;
Gwaed yn llifo ar y pren
A foddlonodd nefoedd wen;
Dyma ffynnon rydd lanhad
I bechadur, a iachad.

3 Dyma destun, dwyfol yw,
Gwneyd pechadur marw'n fyw;
Dyma syndod nef y nef,
Trefn ei iachawdwriaeth ef;
Cân o'r newydd byth fydd hyn,
Cofio am Galfaria fryn. R. J.

## HYMN CCCI. (7au.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 WELE'R dydd yn gwawrio draw,
Amser hyfryd sydd gerllaw;
Daw'r cenedloedd yn gytun
*I dderchafu* Mab y dyn.

2 Gwelir teyrnas Iesu mawr,
Yn ben moliant ar y llawr;
Gwelir tŷ ein Harglwydd cu,
Goruwch y mynyddoedd fry.

3 Gwelir pobloedd lawer iawn,
Yn dylifo ato'n llawn;
Cyfraith Iesu gadwant hwy,
Ac ni ddysgant ryfel mwy.

4 Fe geir gweled Babel fawr,
Gwedi syrthio oll i lawr,
A'r teyrnasoedd mawr eu bri,
Oll yn eiddo'n Harglwydd ni.

## HYMN CCCII. (7au.)

*Esgyniad Crist i'r nefoedd.*

1 WELE angeu llym eu gledd,
Wele agoriadau'r bedd,
Wele nef a daear lawr,
Tan awdurdod Iesu mawr.

2 Fry esgynodd Mab y dyn,
Trwy ei werthfawr waed ei hun;
Dwyn tystiolaeth wnaeth y nef,
I fawr werth ei aberth Ef.

3 Gwaith gorphenol Iesu yw,
Prynedigaeth dynolryw;
Pob ymadrodd yr un iaith,
Canent mwy ei foliant maith.

## HYMN CCCIII. (7. 6. 8.)

*Yr enaid blinderog.*

1 LLAWN o ofid, llawn o wae,
A llawn o euogrwydd du,
Byth y byddaf yn parhau,
Heb gael dy gwm'ni cu:

Golwg unwaith ar dy wedd,
A'm cod i'r làn o'r pydew mawr;
O fy Nuw nac oeda'n hwy,
Rho'r olwg imi'n awr.

2 Gwel y truan, gwel y tlawd,
Yn gorwedd wrth dy draed;
O Samariad bydd yn frawd,
Adfera im' iachad:
Dyro olew yn fy mriw,
A chod fi ar dy anifail cun,
Ac nis gall fyth fyth fy nwyn,
Ond dy allu di dy hun.

3 Dyrus daith i mi sydd wan,
A bryniau maith o'm blaen;
Mi a frawychais lawer gwaith,
Rhag grym y fflamau tân;
Mae'r Iorddonen heddyw'n fawr,
Os gwir ddychymyg f' enaid gwan;
Tyred Arglwydd iddi lawr,
Ac yna dof i'r làn. W. W.

## HYMN CCCIV. (7. 6. 8.)

*Mawl am angeu Crist.*

1 IESU, y dirmygedig un,
Ddyoddefodd angeu loes;
Gan ryw ddienyddwyr llym,
Yn wirion ar y groes;
Y gruddfanau rodd e' maes,
Ddaeth a'r trueiniaid oll yn rhydd;
Bellach holl ganiadau'r nef,
Byth am Galfaria fydd.

2 O foreu-ddydd dedwydd iawn,
Pan ddelo'r dorf yn un,
O bob cwr i'r ddaear faith,
*I gwrdd a*'u Harglwydd cun;

Derfydd gofid a phob gwae,
Derfydd temtasiynau maith;
Derfydd pechod mawr ei rwysg,
A derfydd dyrys daith.

3 Ac wrth wel'd yn agoshau,
Fath hyfryd fore wawr;
Un diwrnod goleu clir,
Maith drag'wyddoldeb mawr :
Pa'm na bawn yn llawen iawn,
Hyn wy'n 'mofyn ei fwynhau,
A thyma fref fy enaid gwan,
Ei wel'd yn agoshau. W. W.

## HYMN CCCV. (7. 6.)

*Canu am gariad Crist.*

1 ANGYLION doent yn gyson,
Rifedi gwlith y wawr,
Rhoent eu coronau euraidd,
O flaen y fainc i lawr:
Chwareuant eu telynau,
Y'nghyd â'r saint yn un,
Fyth, fyth, ni chanant ddigon,
Am Dduwdod yn y dyn.

2 Am angeu'r groes bydd canu,
I dragwyddoldeb maith;
Ond im' gael teimlo ei rinwedd,
'Rwy bron ar ben fy nhaith;
Fy nefoedd yw ei deimlo,
A'i deimlo'n union sydd,
Yn troi pob rhyw dywyllwch,
O'm mewn yn oleu ddydd.

3 Mi ganaf tra bo anadl,
O fewn y ffroenau hyn,
Am gariad yn dyoddef,
Ar ben Calfaria fryn;

Am goron ddrain blethedig,
  Am hoelion garwa eu rhyw,
I gànu'm henaid euog,
  Fel eira gwyn ei liw.

## HYMN CCCVI. (7. 6.)

*Rhinwedd dyoddefaint Crist.*

1 NI fuasai genyf obaith,
  Am ddim ond fflamau syth,
Y pryf nad yw yn marw,
  A'r tywyllwch dudew byth;
Oni buasai'r hwn a hoeliwyd,
  Ar fynydd Calfari,
O ryw anfeidrol gariad,
  I gofio am danaf fi.

2 Rwy'n edrych arnaf f' hunan,
  A rhyw gasineb mawr,
Mwy diddym, mwy disylwedd,
  Na phryfaid mân y llawr;
'Does ond yr aberth hwnw,
  Wnawd ar Gaersalem fryn,
A'm creai oll o newydd,
  A'm gylch i oll yn wyn.

3 Mi welaf yn ei fywyd,
  Y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu'r taliad,
  A roddwyd drosof fi;
Yn ei esgyniad gwelaf,
  Drifganau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol berffaith,
  Gaf yno gydag ef.

4 Am hyn bydd i mi 'mwadu,
  A'r cwbl yn gytun,
Pob cylch o ddyledswyddau,
  *Goreudeg* hardd yn un;

Yn angeu'r groes yn unig,
  Mae'm iachawdwriaeth lawn,
Ac am y groes mi ganaf,
  O foreu hyd brydnawn. W. W.

## HYMN CCCVII. (7. 6.)

*Crist yn ddigon yn angeu a'r farn.*

1 O FLAEN y fainc rhaid sefyll,
  Ië sefyll cyn bo hir,
Nid oes am nerthai yno,
  Ond dy gyfiawnder pur;
Myfi anturia'n ëon,
  Trwy ddyfroedd a thrwy dân,
Heb oleu ac heb lewyrch,
  Ond dy gyfiawnder glân.

2 Ti Farnwr byw a meirw,
  Sydd ag allweddau'r bedd,
Terfynau eitha'r ddaear,
  Sy'n dysgwyl am dy hedd;
'Dyw gras i ti ond gronyn,
  Mae gras ar hyn o bryd,
Ryw filoedd maith o weithiau,
  I mi yn well na'r byd.

3 Pwy ddyru i'm falm o Gilead,
  Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneyd i'm hysbryd edrych,
  Yn ëon ar y bedd;
A dianc ar wasgfeuon,
  Euogrwydd creulon cry?
'Does neb ond ef a hoeliwyd,
  Ar fynydd Calfari. W. W.

## HYMN CCCVIII. (7. 6.)

*Mawr yw dirgelwch duwioldeb.*

1 O FOROEDD, o ddoethineb,
  Oedd yn y Duwdod mawr,

Fel hyn gyfranu ei gariad,
I bryfed gwael y llawr;
I wneuthur i'w drugaredd,
A'i dostur maith y'nghyd,
I redeg megis afon,
Lifeiriol dros y byd.

2 'Nol edrych ar ol edrych,
O gwmpas i mi mae,
Rhyw fyrdd o ryfeddodau,
Newyddion yn parhau;
Pan bwy'n rhyfeddu un peth,
Un arall ddaw i mryd,
O iachawdwriaeth rasol,
Rhyfeddol wyt i gyd!

3 Ond y rhyfeddod fwya',
I'r Tad roi' Fab ei hun,
Mynwesol Fab ei galon,
I wisgo natur dyn;
Wel dyma ddarostyngiad,
A dyma rodd mor fawr,
Na welir ei chyffelyb,
O eitha'r nen i lawr!

4 Bendithion ar fendithion,
Trysorau angeu loes,
Grawnsypiau mawrion addfed,
Yn hongian ar y groes;
Sydd yn cwmpasu'm henaid,
Rhinweddau mawr eu grym,
A minau yn eu canol,
Heb allel dywedyd dim. W. W.

---

## HYMN CCCIX. (7. 6.)

*Rhyfeddodau'r prynedigaeth.*

1 O IACHAWDWRIAETH gadarn,
O iachawdwriaeth glir,
Fu ddyfais o'th gyffelyb,
*Erioed* ar fôr na thir,

Mae yma rhyw ddirgelion,
  Rhy ddyrys ynt i ddyn,
Ac nad oes all eu dadrys,
  Ond Duwdod mawr ei hun.

2 O ras didranc diderfyn,
  Tragwyddol ei barhad,
Y'nghlwyfau'r Oen fu farw,
  Yn unig mae iachad;
Iachad oddiwrth euogrwydd,
  Iachad o ofnau'r bedd,
A chariad wedi ei wreiddio,
  Ar sail dragwyddol hedd.

3 O f'enaid gwel fath noddfa,
  Diysgog ynte yw,
Y'mhob rhyw gyfyngderau,
  Trag'wyddol ras fy Nuw;
Ac yma boed fy nhrigfan,
  A fy nhawelaf nyth,
Yn nyfnder cyfyngderau,
  Sef dan dy aden byth. W. W.

## HYMN CCCX. (7. 6.)

*Mordaith y Cristion.*

1 WEL f'enaid moria bellach,
  Y'mlaen tua'r hyfryd wlad,
Fe rwygodd Iesu'r 'stormydd,
  Oddiyma i dŷ fy Nhad;
I'r lan o fôr euogrwydd,
  Lle taflodd Adda fi,
Tua'r wlad lle nad oes moroedd,
  Caersalem hyfryd fry.

2 Gwna i mi gadw'n union,
  A doed hi fel y del;
I'r wlad sydd wedi ei haddo,
  Sef tir Immanuel;

Yw'r cyntaf peth wy'n geisio,
Yr awrhon yn dy waed.

2 Mae ynddo nerth diderfyn,
Doethineb mawr yn rhad,
Deng miliwn o rinweddau,
Yn rhagor yn y gwaed;
Mae ynddo bob rhyw angen,
Sydd ar bechadur gwan,
Tan filoedd o amheuon,
I godi ei ben i'r làn.

3 A raid i minau drengu,
O eisieu dyfroedd clir?
'Rwy' bron llewygu'n tramwy,
Y dyrys anial dir:
Dwg fi i'r dyfroedd tawel,
Porfëydd gleision mawr,
Ac mae y rhai lluddedig,
Yn rhoddi eu penau i lawr. W. W.

## HYMN CCCXIV. (7. 6.)

*Cariad anghydmarol Crist.*

1 FY Nuw, fy Nhad, fy Iesu!
Boed clod i'th enw byth,
Boed dynion i dy foli,
Fel rhif y bore wlith;
O na ba'i gwellt y ddaear,
Oll yn delynau aur,
I ganu i'r hwn a anwyd,
Yn Methle'm gynt o Fair.

2 Fe ddaeth i wella archoll,
Trwy gym'ryd clwyf ei hun,
Etifedd nef yn marw,
I wella'r marwol ddyn;
Yn sugno maes y gwenwyn,
A rodd y sarph i ni,
Ac wrth y gwenwyn hwnw,
*Yn marw* ar Galfari.

3 Bechadur gwel e'n sefyll,
Yn llonydd ar y groes,
Clyw'r gruddfan sy'n ei enaid,
Tan ddyfnder angeu loes;
O gwrando at ei ruddfan,
Mae pob ochenaid ddrud,
Yn ddigon mawr o haeddiant,
Ei hun i brynu'r byd.

4 Gwel ar y croesbren acw,
Gyfiawnder mawr y ne',
Doethineb a thrugaredd,
Yn gorwedd mewn un lle;
A chariad anfesurol,
Yn awr i gyd yn un,
Fel afon fawr lifeiriol,
Yn rhedeg at y dyn. W. W

## HYMN CCCXV. (7. 6.)

*Dyrchafiad Crist.*

1 I FYNU daeth o Edom,
A'i wisg yn goch ei lliw,
Nis gall'sai un creadur,
Mewn cadwyn gadw Duw;
Fe dorodd rym yr angeu,
Fe 'gorodd ddrysau'r bedd,
Palmantodd ffordd o'r ddaear,
Yn awr i ganol hedd.

2 Ac yna yr adgyfododd,
Yn ogoneddus iawn,
Daeth bore teg a hyfryd,
'Nol stormus ddu brydnawn;
Fe goncrodd angeu ei hunan,
O'r carchar daeth yn rhydd.
Y gadwyn fawr a dorodd,
Ar wawr y trydydd dydd.

3 A dyma waith fy Mhriod,
  'Nawr ar ddeheulaw'r Tad!
Yn dwyn y'mlaen bob gronyn,
  O'm iachawdwriaeth rad;
Da im' oedd iddo fyned,
  Myrdd o fendithion sy,
Fwy o'i fod yn y nefoedd,
  Nag yma gyda ni. W. W.

## HYMN CCCXVI. (7. 6.)

*Clodforedd y saint.*

1 O ARGLWYDD rho im' dafod,
    Na thawo ddydd na nos,
  Ond dweyd wrth bob creadur,
    Am rinwedd gwaed y groes;
  Na ddelo gair o'm genau,
    Yn ddirgel nac ar g'oedd,
  Ond am fod Iesu anwyl,
    Yn wastad wrth fy modd.

2 O Iesu pwy all beidio,
    Dy ganmol ddydd a nos,
  A phwy all beidio cofio,
    Dy farwol ddwyfol loes;
  A phwy all beidio canu,
    Am iachawdwriaeth rad,
  Ag sydd yn teimlo gronyn,
    O rinwedd pur dy waed.

3 Gwaredu ei saint o uffern,
    A phechod drwg ei ryw,
  O safn y bedd ac angeu,
    A'u dwyn i fynwes Duw;
  A'u harwain tros fynyddau,
    A d'ryani anial syth,
  A grëa nef y nefoedd,
    *Yn gân heb ddiwedd byth.*

4 O enw ardderchocaf,
Yw enw marwol glwy,
Caniadau archangelion,
A fydd fath enw mwy ?
Bydd yr anfeidrol ddyfais,
O brynedigaeth dyn,
Gan raddau filoedd yno,
Yn cael ei chanu'n un. W. W.

## HYMN CCCXVII. (7. 6.)

*" Chwant i'm dattod."*

1 RWY'N awr yn ffrynd i'r pryfed,
Er pan ges olwg ffydd ;
Can gwell na phalas brenin,
I mi fy ngwely pridd ;
Mi lechaf yn y ddaear,
Caiff llwch at lwch i fyn'd ;
Ond angeu ti gei weled,
Fod Iesu i mi'n ffrynd.

2 Rwy'n rhoi ffarwel o'm calon,
I'r cwbl îs y rhod ;
'Does arnai fymryn hiraeth,
Am 'welais etto 'rioed :
Rwy'n rhoi fy mhlant a'm priod,
I ei gadwraeth ef;
Sy'n trefnu, sy'n gofalu,
Am ddaear fawr a'r nef.

3 Mi gaf fy nghorff i fynu,
Fel fy anwylyd cu ;
Heb nwydau drwg byth mwyach,
I'm blino fel y bu :
'Does dyn wyr îs yr wybr,
Ddedwydded yw fy lle ;
Ac nis gall dyn ddych'mygu,
Dim am bleserau'r ne.

4 Heb saeth, heb fraw, heb ofni,
Heb ofid ac heb boen;
Yn canu o flaen yr orsedd,
Ogoniant pur yr Oen;
Yn [illegible] myrdd myrddiynau,
Yn canu oll heb drai;
Yr Anthem ydyw cariad,
A chariad i barhau. W. W.

## HYMN CCCXVIII. (7. 6.)

*Cariad a gras Jehofah.*

1 O GARIAD heb ei gymhar!
A thyna'r testyn sy';
Yn llanw holl ganiadau,
'R angelaidd sanctaidd lu;
Anfeidrol ras rhyfeddol!
Pe tawai am dano ddyn:
Fe swniai'r fud grëedigaeth,
Yn ddiau bob yr un.

2 Gras yn llifeirio allan,
O galon bur y Tad;
I drefnu achub dynion,
O iachawdwriaeth râd;
I 'madael a'i Etifedd,
A'i hoelio ar y pren,
Par'toi ni le digymhar,
Tragwyddol uwch y nen.

3 A all fy llygredd dòri,
Er cymaint yw ei lid,
Hen bwrpas a ddechreuodd,
Yn hir cyn creu y byd?
Na all: y pwrpas hwnw,
O eiddo'r Drindod mawr,
Chwilfriwia fy mhechodau,
'Mhen gronyn bach i lawr. W. W.

## HYMN CCCXIX. (7. 6.)

*Gallu Duw o blaid ei bobl.*

1 PWY elyn all wrthsefyll,
Nerth sy'n ei freichiau mawr;
Pan wnaeth o'i air yn unig,
Y bydoedd uwch y llawr?
Pwy all ei attal weithio,
Pwy ddywed wrtho paid?
'Run yw sy'n arfer helpu,
'R anghenus tlawd wrth raid.

2 Fe all i'r làn dy godi,
O ddyfnder llwch y byd,
A gwneyd pob drwg a gwrddot,
Droi er daioni 'gyd;
Rhoi olew o lawenydd,
Yn wastad ar dy ben,
A'th ddwyn trwy foroedd dyfnion,
I ganol nefoedd wen.

3 Pe cyhuddwr mawr y brodyr,
A gelyn dynolryw;
Ddoi ag achwynion creulon,
O flaen gorseddfainc Duw;
Fy mhle yn mhorth y deml,
A dyna wna y tro;
Duw ydyw fy Ngwaredwr,
Er unwaith marw fo. W. W.

## HYMN CCCXX. (7. 6.)

*Golygfeydd dyoddefaint Crist.*

1 GALARWCH fryniau uchel,
Ar un o honoch chwi;
Calfaria oedd ei enw,
Bu farw ein Harglwydd ni;

O cofiwch greigydd hefyd,
Fod eich Creawdwr doeth,
Ryw ran o dri diwrnod,
Yn gorwedd yn eich croth.

2 Chwi erddi cofiwch iddo,
I chwysu'r gwaed yn lli',
Mewn gardd yn ochr Salem,
Cyn marw drosom ni;
Ei chwys a ymgymysgodd,
A gwerthfawr waed ein Duw;
Pan bwysodd ar ei ysgwydd,
Bechodau dynolryw.

3 Chwi goedydd hyn meddyliwch,
I Grëwr dae'r a nen;
Yr hwn a'ch gwnaeth â'i fysedd,
I farw ar y pren;
Fwyn gloddiau chwi rodd ddefnydd,
Y dur a'r haiarn 'gyd;
I guro'n ddidrugaredd,
Yn nwylo wnaeth y byd.

4 Afonydd pall'soch ddyfroedd,
I'w ddisychedu ef;
Er oll mai gwaith ei fysedd,
Pob nant, pob afon gref;
Ei gwpan anghysurus,
A roddwyd iddo'n llawn;
O finegr a wermod,
A bustl chwerw iawn. W. W.

## HYMN CCCXXI. (7. 6.)

*Crist yn rhagori ar gan mil.*

1 GWELL wyt i mi na'r bywyd,
Hyfrydach yw dy wedd;
Na dim ag sydd weledig,
*Yr ochr yma i'r bedd;*

Un awr yn dy gyfeillach,
  Can mil mwy gwerthfawr mae,
Nag oesoedd maith diderfyn,
  Rhyw bleser i'w fwynhau.

2 A gwell y groes, y gw'radwydd,
  Y gwawd a'r erlid trist;
Y dirmyg a'r cystuddiau,
  Sydd gyda Iesu Grist;
Can's yn ei groes mae coron,
  Ac yn ei waed mae bri;
A phleser yn ei gariad,
  Sydd fwy na'n daear ni.

3 Tan d'aden Iesu llechaf,
  Nid ofnaf yno ŵg;
Na niwed wnel creadur,
  Hyd 'nod angelion drwg;
Hen Satan a goncweriaist,
  Diffoddaist rym ei saeth;
Gan waywffon pan gefaist,
  Ar ben Calfaria frath. W. W.

## HYMN CCCXXII. (7. 6.)

*Swm y Bibl.*

1 FY Iesu yw mer y Bibl,
  'Does bennod nad yw'n son!
O bell neu ynte o agos,
  Am groeshoeliedig Oen;
Fe oedd y testamentwr,
  A'i dest'ment ef ei hun,
Yw'r cyntaf a'r diweddaf,
  Er iachawdwriaeth dyn.

2 Mae yma bur athrawiaeth,
  Yn angenrheidiol sy';
I geryddu, i adeiladu,
  I hyfforddi i'r nefoedd fry;

I derfyn eitha'r nefoedd,
O Arglwydd aed ei sain;
'Does eiriau tan yr wybren,
Gyffelyb ddim i'r rhai'n.

3 'Does eisieu un gwirionedd,
Nad yw ef yma i lawr;
Dychymyg dyn traddodiad,
Na *chanon counsil* mawr;
'Madroddion yr hen deidiau,
Gorchymyn Pab ni chair;
I helpu dim diffygion,
Sy'n eisieu yn y gair. W.W.

## HYMN CCCXXIII. (7. 6.)

*Yr Efengyl a'i chysgodau.*

1 'R EFENGYL gyntaf draethwyd,
Fe fydd i had y wraig;
Er maint ei grym a'i dichell,
I sigo siol y ddraig;
Fe siga'r ddraig ei sawdl,
Er cymaint fydd ei fri;
Ond wrth gael sigo 'sawdl,
Fe siga ei choryn hi.

2 Yr arch a gwialen Aaron,
Yn dwyn almonau drud;
Y llechau a'r drugareddfa,
Cerubiaid oll y'nghyd;
Y crochan aur a'r manna,
A'r shecin dysglaer pur;
Oedd oll yn dweyd rhyw bethau,
Am y Messiah gwir.

3 Fel hyn trwy'r holl gysgodau,
Canfyddid Iesu Grist;
*Yn Feddyg* a Iachawdwr,
*I bechaduriaid* trist;

Trwy ffydd yn bwyta'r manna,
Yn yr anialwch mawr;
Gwel'd Iesu pren y bywyd,
Yn dod o'r nen i lawr. W. W.

## HYMN CCCXXIV. (7. 6.)

*Cariad, angeu, ac eiriolaeth Crist.*

1 O YSBRYD sancteiddiolaf!
Anadla arna'i lawr;
O'r cariad anchwiliadwy,
Sy 'nghalon Iesu mawr;
Trwy haeddiant Oen Calfaria,
Ac yn ei glwyfau rhad;
Rwy'n dysgwyl pob ryw ronyn,
O burdeb gan fy Nhad.

2 Ond ni ymddengys cymaint,
O'i ras a'i gariad mawr;
Mewn dim a'i waith yn dyfod,
O eitha'r nen i lawr;
Yn prynu gwaith ei ddwylo,
Oddiwrth y llid a fydd;
O ddyfnder mawr trueni,
I'r nefoedd wen ryw ddydd.

3 A thyma ei swydd yr awrhon,
O fewn y nefoedd wen;
Y man y rhowd e' i eistedd,
Ar gyfan oll yn ben;
Sef eiriol tros ei bobl,
Nes cael cyflawni 'gyd;
Yr addewidion dyngwyd,
Cyn iddo seilio'r byd. W.W.

## HYMN CCCXXV. (7. 6.)

*Haeddiant digyffelyb Crist.*

1 O HAEDDIANT annherfynol,
A gras o nefol ryw;
Rhaid i mi gael a wnelo,
Fy heddwch llawn â Duw;

'Dyw gwaith a dyledswyddau,
Ganmolir trwy'r holl fyd!
Yn abl maddeu pechod,
Pe byddent fyrdd y'nghyd.

2 Yn ddwl, yn ddall, yn dywyll,
Yn aflan oll i gyd;
Ffieiddiaf un genhedlwyd,
Erioed o fewn y byd!
D'wed wrth y brenin addfwyn,
O gwna drugaredd llawn;
I aflan ddyn heb ammod,
I aflan ddyn heb ddawn.

3 Pan delech ti i gredu,
A'th galon yn y gwaed;
Fe gwymp dy holl eilunod,
Yn chwilfriw tan dy draed;
Dy ffydd a ddengys i ti,
Yn glir Galfaria fryn;
Pob eilun fydd yn cwympo,
Yn y goleuni hyn.

4 Cei'r cwbl fel y mynech,
Y fynyd caffech ffydd;
Y t'wyllwch ddod hi'n olaf,
Gwna ganol nos yn ddydd;
Hi ysgyfnhâ dy feichiau,
Er bod hwy'n feichiau mawr;
Hi sugna bob cysuron,
O ganol nef i lawr. W. W.

## HYMN CCCXXVI. (7. 6.)

*Cyflawnder diderfyn Iachawdwriaeth.*

1 O IACHAWDWRIAETH gyflawn,
Anfeidrol led a hyd;
*Mae'n fwy* na'r nef ei hunan,
*Mae'n llawer* mwy na'r byd;

Mae'n drysor anchwiliadwy,
O berlau drud o'r bron;
Does dim yn gymhar iddi,
Sydd ar y ddaear hon.

2 Rhyw gyfoeth anchwiliadwy,
Sy'n synu'r ddae'r a'r nef;
Fe'm llyncir gan ryfeddod,
Wrth wel'd ei ddyfnder ef;
O henffych well ddirgelion,
Hen lwybrau dyfnion braf;
Nid ydwyf yn eich deall,
Byth eich rhyfeddu wnaf.

3 O dere tua'r bywyd,
Mae myrdd myrddiynau mwy;
Erioed nag a feddyliaist,
I'w gael mewn dwyfol glwy;
Mae gwleddoedd ar y ddaear,
A gwleddoedd 'yn y nef;
Ganwaith a dâl yr India,
Yn ei gwmpeini ef. W. W.

## HYMN CCCXXVII. (7. 6.)

*Rhyfeddodau'r Iachawdwriaeth.*

1 O ARGLWYDD Dduw rhagluniaeth,
Ac iachawdwriaeth dyn,
Tydi sy'n llywodraethu,
Y byd a'r nef dy hun:
Yn wyneb pob rhyw g'ledi,
Y sydd neu etto ddaw,
Dod gadarn gymhorth i mi,
I lechu yn dy law.

2 O am gael ffydd i edrych,
Gyda'r angelion fry,
I fôr yr iachawdwriaeth,
Dirgelwch ynddi sy';

Dwy natur mewn un person,
Yn gyson yno gaed,
Anfeidrol a thrag'wyddol,
Yw rhinwedd dwyfol waed.

3. O f'enaid gwel addasrwydd,
Y person dwyfol hwn,
Anturia' iddo'th fywyd,
A bwrw arno'th bwn:
Mae'n ddyn i gydymdeimlo,
A'th holl wendidau'i gyd,
Mae'n Dduw i fynu'r orsedd,
Ar ddiafol, cnawd, a byd. A. G.

## HYMN CCCXXVIII. (7. 6.)

*Gobaith am gân dragwyddol.*

1 CANED y genedl gyfiawn,
Daeth Iesu i'w rhyddhau,
Mi wela'r dydd yn dyfod,
Y derfydd ei holl wae,
Mae f'enaid gwan yn credu,
Ar fyr yr ochr draw,
Y'mhlith y dorf aneirif,
Caf delyn yn fy llaw.

2 Wel dyma'r lle bydd canu,
Gan seintiau hyfryd sain,
Rhyfeddod fydd fy ngweled,
Yn canu gyda'r rhai'n;
Rhyfeddod nef a daear,
Fydd gweled un mor ddu,
Yn wyn heb un brycheuyn,
Y'mhlith y nefol lu. G.

3 Teilwng yw'r Oen a laddwyd,
O'r holl ogoniant mawr,
*Trwy ganol nef* y nefoedd,
*Ac yma* ar y llawr;

Pan elo'r holl grëedigaeth,
Yn ulw gan y tan,
Teilyngdod Iesu drosof,
Fydd fy nhragwyddol gân. M. R.

## HYMN CCCXXIX. (7. 6.)

*Rhyddid i'r caethion.*

1 AGORODD ddrws i'r caethion,
I ddod o'r cystudd mawr,
A'i werthfawr waed fe dalodd,
Ein dyled oll i lawr:
Nid oes dim damnedigaeth,
I neb o'r duwiol had,
Y gwaredigion canant,
Am rinwedd mawr ei waed.

2 Fe genir ac fe genir,
Yn nhragwyddoldeb maith,
Os gwelir un pererin,
Mor llesg ar ben ei daith,
A gurwyd mewn tymhestloedd,
A olchwyd yn y gwaed,
A gànwyd ac a gadwyd,
Trwy'r iachawdwriaeth rad.

3 Wel dyma'r un sy'n maddeu,
Pechodau rif y gwlith,
Does mesur ar ei gariad,
Na therfyn iddo byth;
Mae'n 'mofyn lle i dosturio,
Mae'n hoffi trugarhau,
Trugaredd i'r amddifaid,
Sydd ynddo i barhau. M. R.

## HYMN CCCXXX. (7. 6.)

*Pwrcas Crist.*

1 FYTH, fyth rhyfeddai'r cariad,
Yn nhragwyddoldeb pell,

A drefnodd yn yr arfaeth,
I'm etifeddiaeth well;
Na'r ddaear a'i thrysorau,
A'i brau bleserau y'nghyd,
Fy nghyfoeth mawr ni dderfydd,
Yw Iesu brynwr byd.

2 Ar noswaith oer fe chwysai,
Y gwaed yn ddafnau i lawr,
Ac ef mewn ymdrech meddwl,
Yn talu'n dyled mawr;
Fe yfai o'r cwpan chwerw,
Wrth farw ar y pren,
Palmantodd ffordd i'r bywyd,
O'r ddaear hyd y nen.

3 Tragwyddol glod i'r cyfiawn,
Fu farw dros fy mai,
Fe adgyfododd eilwaith,
O'r bedd i'm cyfiawnhau;
Ar orsedd ei drugaredd,
Mae'n dadleu yn y ne',
Ei fywyd a'i farwolaeth,
Anfeidrol yn fy lle. M. R.

## HYMN CCCXXXI. (7. 6.)

*Ymbil am faddeuant.*

1 PECHADUR wyf o Arglwydd,
Sy'n curo wrth dy ddôr,
Erioed mae dy drugaredd,
Diddiwedd yn ystor;
Er i ti faddeu beiau,
Rifedi'r tywod man
Gwn fod dy hen drugaredd,
Lawn gymaint ag o'r blaen.

2 Dy hen addewid rasol,
A gadwodd rif y gwlith,
O ddynion wedi eu colli,
A gân am dani byth;

Er cael eu mynych glwyfo,
  Gan bechod îs y nen,
Iacheir eu mawrion glwyfau,
  A dail y bywiol bren.

3 Ni cheisiai yn wyneb Moses,
  Ond Iesu i ddadleu nghwyn,
Y cyfiawn dros'r anghyfiawn,
  Fu farw er fy mwyn;
Yn ymchwydd yr Iorddonen,
  Ac yn y farn a ddaw;
Diangol yn y diwedd,
  A fyddaf yn ei law.

4 Gwasgara'r tew gymylau,
  Oddiyma i dŷ fy Nhad,
Datguddia i mi beunydd,
  Yr iachawdwriaeth rad;
A dywed air dy hunan,
  Wrth f'enaid clwyfus trist,
Dy fod yn maddeu meiau,
  Yn haeddiant Iesu Grist. M. R.

## HYMN CCCXXXII. (7. 6.)

*Gobaith gwell.*

1 'RWY yma dan y tònau,
  Yn gruddfan lawer awr,
Yn methu cadw 'ngolwg,
  Ar y Messiah mawr;
Ar fyr daw'r dydd ca'i nofio,
  I fewn i'w dawel hedd,
Ni cholla'r olwg arno,
  Yr ochr draw i'r bedd.

2 Fe dderfydd i mi bechu,
  Iachêir yn lân fy nghlwy',
Ond byth ni dderfydd canu,
  Am faddeu pechod mwy;

Caf gorph yr hen farwolaeth,
I lawr ni chyfyd byth,
A gwledd ar fynydd Sïon,
Dragwyddol bur ddilyth.

3 Ni bydd y wledd ond dechreu,
Pan ddelo angeu ddydd,
Fel'r amlhao'r dyrfa,
Caniadau fwy fwy fydd;
Ond pan ddel cyrph y seintiau,
Yn gryno i gyd o'r bedd,
Rhyw ddechreu byth heb ddiwedd,
Fydd y dragwyddol wledd. M. R.

## HYMN CCCXXXIII. (7. 6.)

*Ymadawiad â'r byd hwn.*

1 AR fyr caf rodio'r llwybr,
Na ddeuai byth yn ol,
Mi rof ffarwel dragwyddol,
I'r holl forwynion ffol;
Fe dderfydd son am bechod,
Cystuddiau, poen, a braw,
Gwynfyd ga'i draw'r Iorddonen,
Balmwydden yn fy llaw.

2 Ymado wnaf a'r babell,
'Rwy'n trigo ynddi'n awr;
Colofnau'r tŷ ddattodir,
Fe'i cwympir oll i lawr;
A pob gwahanglwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy,
'Rwy'n canu wrth gofio'r bore,
Na welir arnai glwy'.

3 Os gwelir fi bechadur,
Rhyw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd yr iaith;
Yn seinio buddugoliaeth,
*Am iachawdwriaeth lawn*;
*Heb ofni* colli'r frwydr,
*Y boreu* na'r prydnawn.

## HYMN CCCXXXIV. (7. 6.)

*Crist yn bob peth.*

1 CE'S gadarn graig i ymguddio,
Ce's Feddyg i'm iachau,
Ce's hefyd Fugail ffyddlon,
Ce's ffynnon i'm glanhau;
Ce's wisg i guddio'm noethni,
Ce's eli wrth fy nghlwy',
Ce's Briod diwahaniad,
Ni byddai amddifad mwy.

2 Ce's ddwfr o'r graig i yfed,
I dori'm syched mawr,
Ce's beunydd fara i'w fwyta,
O'r nef y daeth i lawr;
Ce's delyn tu yma i angeu,
Fy holl gystuddiau ffodd,
I ganu i'r Oen fu farw,
Mae'n Briod wrth fy modd.

3 Er bod y'ngrym y rhyfel,
Y'nghanol mwg a thân,
Gelynion am fy nifa,
Tu ol ac o'r tu blaen;
Er dyfned yw fy archoll,
Ce's olew yn fy mriw,
A thyma pa'm rwy'n canu,
A thyma pa'm 'rwy'n fyw.

4 Tra fyddwyf yn y rhyfel,
Mi edrycha' tua'r nen,
Er gwaned yw fy ngolwg,
Mi welaf pwy sydd ben;
Y gwr fu dàn yr hoelion,
Sy'n gryf o blaid y gwan,
A than ei gysgod tawel,
Mi ddeua'n iach i'r làn.

## HYMN CCCXXXV. (7. 6.)

*Buddugoliaeth y Cyfryngwr.*

1 RHYFEDDAI'R fuddugoliaeth,
Ar ben Calfaria fry,
Wrth farw fe goncweriodd,
Fy holl elynol lu;
Caethiwodd bob caethiwed,
Rhoes roddion i'w holl saint,
Na fedr neb tafodau,
Fynegi byth eu maint.

2 Er gwaetha'r maen a'r gwylwyr,
Fe gododd Iesu'n fyw,
Daeth yn ei law alluog,
A phardwn dynolryw;
Gwnaeth etifeddion uffern,
Yn etifeddion nef,
Fy enaid byth na thawed,
A chanu iddo ef.

3 Mae hiraeth yn fy nghalon,
Am wel'd y saint i gyd,
'Rwy'n profi mwy o hiraeth,
Am wel'd fy Mhrynwr drud;
Rho i mi o wedd dy wyneb,
A phrofi'th dawel hedd,
Cyn i mi fyn'd i orwedd,
I dawel byrth y bedd.

4 Mi gysgaf hun yn esmwyth,
Ar fyr yn llwch y llawr,
Yn holl-iach wedi gorphen,
Milwriaeth f'Arglwydd mawr;
Heb elyn i fy mlino,
I dragwyddoldeb maith,
Caf fuddugoliaeth hollol,
*Yn lân* ar ben fy nhaith. G.

## HYMN CCCXXXVI. (7. 6.)

*Haeddiant ac eiriolaeth Crist.*

1 DAETH i mi iachawdwriaeth,
 Trwy eitha' chwys a gwaed,
Mae'n codi pechaduriaid,
 O'r dyfnder ar eu traed:
'Dai byth i ymofyn haeddiant,
 Trwy'r nef na'r ddaear lawr,
Ond haeddiant pen Calfaria,
 Rhinweddau'r aberth mawr.

2 Fe'm siomwyd gan y ddaear,
 Fe'm siomwyd gan y byd,
Fe'm siomwyd gan fy nghalon,
 Fwy na chan rhai'n i gyd:
Mewn myrdd o demtasiynau,
 A mil o groesau'r llawr,
Ni safodd neb yn ffyddlon,
 Ond fy Eiriolwr mawr.

3 Brawd anwyl sy'n ein cofio,
 Mewn oriau cyfyng caeth,
Brawd llawn o gydymdeimlad,
 Ni chlywyd am ei fath;
Brawd cadarn yn y frwydr,
 Fe geidw ei frodyr gwan,
Yn dirion dan ei aden,
 Fe ddaw a'r llesg i'r làn. G.

## HYMN CCCXXXVII. (7. 6.)

*Yn nechreu odfa.*

1 WEL dyma odfa newydd,
 O Arglwydd dyro rym,
I ymladd â phla calon,
 A llid gelynion llym:
Mae llawer mil o bethau,
 Am gael fy mhen i lawr,
Nid oes a'm ceidw'n unig,
 Ond gallu'r Meddyg mawr.

2 O Arglwydd dysg i'm chwilio,
I wirioneddau'r gair,
Nes dod o hyd i'r Ceidwad,
Fu gynt ar liniau Mair:
Mae Ef yn Dduw galluog,
Yn gadarn i iachâu,
Er cymaint yw fy llygredd,
Mae'n ffynnon i'm glanhau.

3 Pa Dduw y'mhlith y duwiau,
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi maddeu'n beiau,
Mae'n hoffi gwrando'n cri:
Nid byth y deil eiddigedd,
Gwell ganddo drugarhau,
Er maint ein hannheilyngdod,
Mae'i gariad yn parhau. G.

## HYMN CCCXXXVIII. (7. 6.)

*Ymchwil am wir sylfaen gwynfyd.*

1 AM graig i adeiladu,
Fy enaid chwilia'n ddwys,
Y sylfaen fawr safadwy,
I roddi arni'th bwys:
Bydd melys yn yr afon,
Gael craig a'm deil i'r làn,
Pan byddo pob ystormydd,
Yn curo f'enaid gwan.

2 A gaiff y fath bechadur,
Sydd ffiaidd aflan noeth,
O flaen dy orsedd sefyll,
Pan elo'r byd yn boeth?
Pryd hyn caf eglur wybod,
Beth yw cyfammod rhad,
A chanu i'm Hanwylyd,
Yn hyfryd dŷ fy Nhad.

3 Wrth geisio gwneuthur pob peth,
'Rwy'n methu gwneuthur dim,
Wrth geisio concro 'mhechod,
'Does ynof ronyn rym:
Wrth fyn'd at bob meddygon,
Gwaethygu wnaeth fy nghlwyf,
Anturiaf at yr Iesu,
Yn aflan fel yr wyf. G.

4 Am graig yr iachawdwriaeth,
Fy enaid egwan cân;
Y sylfaen fawr dragwyddol,
A'r hyfryd gongl-faen:
Fy noddfa rhag ystormydd,
Fy nghysgod rhag y gwres;
Mae'n ganmil mwy rhagorol
Na chedyrn furiau pres. D. W.

## HYMN CCCXXXIX. (7. 6.)

*"Etholedigaeth gras."*

1 RHYFEDDOL byth rhyfeddol,
Yw cariad rhad fy Nuw,
A redodd yn yr arfaeth,
At ddynion gwael eu rhyw;
A'u dewis mewn cyfryngwr,
A'u rhoddi iddo'n had,
Ac yntau yn ymrwymo
Eu hadgymmodi a'i Dad.

2 Etholiad heb un ammod,
Yn sefyll ar y dyn,
Yn tarddu o foddlonrwydd,
Ewyllys Duw ei hun;
Tragwyddol heb un dechre,
Anghyfnewidiol yw,
Mae'r sylfaen a'r adeilad,
I gyd o gynghor Duw.

3 Etholwyd i feddiannu,
'R holl ragorfreintiau drud,
Y moroedd o fendithion,
Sy 'ngwaed Iachawdwr byd:
Cyfiawnder a sancteiddrwydd,
A gogoneddiad llawn;
Rhad, rhad fydd anthem Sïon,
Am fath annhraethol ddawn.

4 Mae'r moddion a'r dybenion,
Mewn cwlwm sicr iawn,
'Does fodd fod gwell sefydliad,
Mae'n ddoeth o ras yn llawn;
Prif ddyben ethol ydoedd,
Derchafu gras fy Nuw,
Ac wrth wneyd hyny achub,
Myrddiynau o ddynolryw. M—L. R.

---

## HYMN CCCXL. (7. 6.)

*Clorianau'r farn.*

1 Y GWR fu ar Galfaria,
A welir maes o law;
Yn eistedd ar ei orsedd,
A'r glorian yn ei law;
A phawb a gesglir yno,
I'w pwyso ger ei fron;
O! f'enaid cais dduwioldeb,
I droi y glorian hon.

2 Daw dydd o brysur bwyso,
Ar grefydd cyn bo hir;
Ceir gwel'd gan bwy mae sylwedd,
A phwy sydd heb y gwir:
O! Arglwydd rho i mi adnabod,
Ar f'ysbryd ol dy law;
Can's dyna'r ddelw a'r argraff,
*Arddelir* ddydd a ddaw.

3 Bydd myrdd o ryfeddodau,
Ar doriad bore wawr;
Pan ddelo plant y tònau,
Yn iàch o'r cystudd mawr;
Oll yn eu gynau gwynion,
Ac ar eu newydd wedd;
Yn debyg i'w eu Harglwydd,
Yn dod i'r làn o'r bedd.



## HYMN CCCXLI. (7. 6.)

*Edrych ar y pethau ni welir.*

1 MAE torf aneirif wiwlon,
A'u gwisgoedd oll yn lân,
Ar uchelderau Sïon,
Yn beraidd iawn eu cân;
Ond er y rhif a olchwyd,
Sydd yn y nef yn awr,
Mae afon bur y bywyd,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

2 Mae cwmwl mawr o dystion,
Yn iach yr ochr draw,
I'n Harglwydd a fu'n ffyddlon,
Yn myd y poen a'r braw;
Yn ol eu traed dilynwn,
Trwy dir y blinder maith;
Ar air ein Hrglwydd pwyswn,
Nes dod i ben y daith.

3 Yr oen fydd eu harweinydd,
At lawn ffynnonau hedd;
Fe'u portha yn dragywydd,
A'i gyflawn felys wledd;
Fe'u gwna am byth yn holl-iach,
Eu dagrau oll fe'u sych;
Ni chant eu blino mwyach
Gan bechod, poen, na nych. T. J.

## HYMN CCCXLII. (7. 6.)

*O flaen pregeth.*

1 TYR'D Ysbryd Glan sancteiddiol,
Anadla'th nerthol ddawn;
Gwna heddyw gynhwrf grasol,
Mewn esgyrn sychion iawn;
Rho'th nerthoedd i gydfyned,
A geiriau pur y nef;
Dy air yn nerthol rheded,
Mewn goruchafiaeth gref.

2 Rho nerth o'r nef i'th weision,
Gwisg hwynt â nefol rym:
Awchlyma'th eiriau purion,
Fel gloyw gledddyf llym;
Rho air fel saeth i lynu,
Mewn llawer calon gas;
O Iesu myn orchfygu,
Trwy ryfedd rym dy ras. T. J.

## HYMN CCCXLIII. (7. 6.)

*Nerth mewn gorthrymderau.*

1 GORTHRYMDER ar orthrymder,
Sydd i mi ar fy nhaith;
Ac ergyd ar ol ergyd,
Yn nglyn wylofain maith;
Fy Nuw rho i mi brofi,
Fod pob peth yn ei le,
A'r cwbl at fy arwain,
Nes nes i deyrnas ne'.

2 A phan y delwy' i fyned,
Trwy yr Iorddonen gre',
Rho i mi wel'd Offeiriad,
Yn daclus yn ei le;
Fy Iesu yn ei chanol,
Fy Iesu ar ei glàn,
Yn cynnal, yn cysuro,
*Yn cadw f'enaid gwan.* T. J.

## HYMN CCCL. (8. 8. 6.)

*"Cyrchu at y nod."*

1 PERERIN wyf i'r Ganaan fry,
I gynes gol fy Iesu cu,
Lle ca'i dragwyddol nyth,
'Mhell uwchlaw sŵn y ddraig a'i saeth,
Na gelyn mwy i'm gwneyd yn gaeth,
Cai'n dawel orphwys byth.

2 O bell mi wela'm cartre'n wir,
O fewn i byrth Caersalem bur,
Pob rhai 'n meddiannu hedd,
O ddinas deg, o'th fewn nid oes,
Na haul, na lloer, na thywyll nos,
Gwynfyd rhai draw i'r bedd!

3 Pan ddel yr adgyfodiad mawr,
Caf godi'n lân o'r ddaear lawr,
I entrych awyr fry;
Oddiyno âf mewn nefol hedd,
I'r nefoedd wen mewn newydd wedd,
I blith angylaidd lu.

4 'Rwy'n awr am ganu'n iach i'r byd,
Ei bleser gau, a'i boen i gyd;
Pwy safai ynddo'n hir!
Dysgwyl a wnaf nes del fy Nuw
I'm dwyn o'm gwae at Iesu gwiw,
I hyfryd Salem dir. W. W.

## HYMN CCCLI. (8. 8. 6.)

*Dyoddefaint Crist.*

1 FY enaid, nac anghofia groes,
Annhraethol ing, a phoen, a loes,
Yr Oen difeius pur:
Tan wg y byd, ac uffern gref,
A dwys ofynion llawn y nef,
Mor ddwfn a dwys ei gur!

2 Fy enaid, cofia'r gwpan ddwys,
Digllonedd nef mewn grym a phwys,
Y gwpan yfodd E':
Mewn ing tàn faich annhraethol fawr,
A'i waed yn llifo hyd y llawr,
Dyoddefodd yn fy lle.

3 Fy enaid, cofia Galfari,
A'r Iesu'n dwyn dy felldith di,
Yn ddiddig ar y pren:
I ddwyn it' fendith lawn a hedd,
Bu ar y groes, bu yn y bedd,
O, car ef byth, Amen. T. J.

## HYMN CCCLII. (8. 8. 6.)

*Trugareddau Duw yn dragwyddol.*

1 PARHAU mae hen drugaredd Ior,
A'i ras yn llanw fel y môr;
O caned pawb am hon:
Mae cyfuwch ag yw'r nef ei hun,
Mae'n chwilio'r dyfnder am y dyn!
O caned daear gron.

2 Bydd rhyw dragwyddol glod i'r Ion,
Am ei drugaredd ef bydd sôn,
Am gofio marwol ddyn!
Ei ymgeleddu yn ei waed;
Trugaredd heb ei hail a gaed,
Trugaredd Tri yn Un.

3 I lawr y daeth o'r nef at ddyn,
I'w geisio ac i'w gadw'n un,
Trwy ras Calfaria fryn.
Daeth ato yn ei isel radd,
Yn wael ei lun, ac wedi ei ladd;
O f'enaid, cofia hyn.

4 Mae hon yn golchi'r brwnt yn lân,
Mae'n achub pentewynion tân,
*Mae'n codi'r* marw'n fyw:

Mae hon yn cuddio noethni'r cas,
Yn gyfiawn trwy anfeidrol ras;
Rhyfeddol gariad yw.

5 O f'enaid, nac anghofia mwy,
Mae meddyginiaeth i dy glwy':
Cân am Galfaria fryn.
Dim damnedigaeth mwy nid oes,
I'r hwn a gred yn angeu'r groes;
Mi ganaf byth am hyn. R. J.

## HYMN CCCLIII. (8. 8. 6.)

*Dyoddefiadau y Cyfryngwr.*

1 O COFIWN hoelio Iesu cu,
Ac iddo lyncu angeu du,
Ar groesbren un prydnawn:
A chofiwn rwygo'r llen i'r llawr,
Pan y dolefodd Iesu mawr;
Fe rodd anfeidrol iawn.

2 Y chwys a'r gwaed oedd yn yr ardd,
Y dagrau tros ei wyneb hardd,
Oedd brawf o'i ddyndod ef;
A'i weddi gyda'r Tad yn un,
A dystia'n wir ei fod yn ddyn,
'N wynebu'r 'storom gref.

3 Ei lef yn hollti'r meini 'nghyd,
Yn crynu holl derfynau'r byd,
Oedd brawf o'i Dduwdod mawr:
Ac achub lleidr ar y groes,
Yn nyfnder ing ei farwol loes;
A'i waed yn llif i'r llawr.

4 O caned nef âg uchel floedd,
Dadseinied daear oll ar g'oedd,
Ryw anthem bêr i'r Oen;
Er duo'r haul, a llosgi'r byd,
A syrthio ser y nef y'nghyd,
Fe'i molir am ei boen. R. J.

## HYMN CCCLIV. (8. 8. 6.)

*"Y llef ddystaw fain."*

1 O'R nef fe ddaeth llef ddystaw fain,
Hyfrydaf a phereiddiaf sain,
Trwy barthau'r ddaear gron:
Ac er dystawed yw y llef,
Caiff pawb ei chlywed is y nef;
Mae Duw ei hun yn hon.

2 Llef radlawn yw a melys iawn,
Cyhoeddiad o faddeuant llawn,
I'r euog gwael ei wedd:
Gwahoddiad i'r anghenus rai,
At bob cyflawnder heb ddim trai;
Hon yw Efengyl hedd.

3 Taranau Sinai, mellt y ddeddf,
Ni allant byth gyfnewid greddf,
Pechadur ar ei daith:
Mwy nerthol yw'r efengyl lân
Na'r gwynt, y ddaear gryn a'r tân;
Cyflawna hon y gwaith.

4 Mae'n meddalhau'r afrywiog fron,
Ewyllys dyn ennilla hon,
Heb orthrech, cur na thrais:
Hon yw'r newyddion goreu 'rioed;
I Dduw a'r Oen gogoniant boed,
Byth am yr hyfryd lais.

5 Aed sain efengyl cyn bo hir,
I'r dwyrain a'r gorllewin dir,
Y gogledd oer a'r de:
O! profed pawb effeithiau hon;
Y byd fo'n plygu ger ei bron,
A llwydded yn mhob lle. P. J.

## HYMN CCCLV. (5. 6. D.)

*Cysur y credadyn.*

1 Y CYSUR i gyd sy'n llanw fy mryd,
Bod geny' drysorau uwch gwybod y byd;
Ac er bod hwy 'nghudd, nas gwel hwynt ond ffydd,
Ceir eglur ddatguddiad o honynt ryw ddydd.

2 Rhodd y'nt ro'wd yn rhad, gan Iesu a'n Tad,
A brynwyd yn gyfiawn trwy gleisiau a gwaed;
Fel b'ai genym ble, a haeddiant i'r ne',
Trwy rinwedd y poenau ddyoddefodd efe.

3 Anfeidrol oedd llid Creawdwr y byd,
Yn erbyn y pechod sy'n damnio o hyd;
Ond Tywysog a gaed, a gollodd ei waed,
Fe brynodd faddeuant a heddwch y Tad.

4 Ffordd wnaethpwyd yn llyn, ar Galfari fryn,
I sicrach Paradwys na goll'som cyn hyn;
Ac yno ni gawn i yfed yn llawn,
O wleddoedd y bywyd, heb fore na nawn. W. W.

## HYMN CCCLVI. (5. 6. D.)

*Iesu yn gwbl-feddyg.*

1 FY Iesu mwy fydd, fy noddfa bob dydd,
O ddyfnder pydewau, fe'm rhoddodd yn rhydd:
Ni feddaf iachad, un dim ond ei waed,
Fy heddwch a'm haeddiant, fy nerth a'm parhad.

2 Rhyw afon a gaed, o ddwfr ac o waed,
O'r orsedd ddysgleir-deg, mae'n rhedeg yn rhad;
I wella fy mriw, fy meiau o bob rhyw,
A chànu fy enaid, er dued ei liw.

3 Boed yma fy nyth, a'm bywyd i byth,
Yn nghlwyfau'r Oen tyner, a'i lawnder dilyth;
Ac yna caf fyw, er croesau o bob rhyw,
A'm henaid yn llawen, dan aden fy Nuw.

4 I olchi fy mai, mae dyfroedd didrai,
Er maint yw fy nghulni, 'dyw'n llenwi dim llai;
Ac er 'mod i'n awr, yn llesg ar y llawr,
Fe'm cènir yn ddiau, o feiau fu fawr.

5 Wel, bellach mi a 'mlaen, trwy ddwr a thrwy dân,
Er cymaint fy nyled, fe'i talwyd yn lân;
Moliannu mwy fydd, fy mhleser bob dydd,
'Nol agor y carchar, pwy all fod yn brudd. W. W.

## HYMN CCCLVII. (5. 6.)

*Cyflawnder yr Iachawdwriaeth.*

1 'RWY'N gweled bob dydd, mae gwerthfawr yw ffydd,
Pan elwy i borth angeu, fy angor a fydd.

2 Mwy gwerthfawr im' yw, na chyfoeth Peru,
Mor ddyogel i'm cynnal, ddydd dial ein Duw.

3 Ffarwel y fo'r byd, a'i bleser yn nghyd,
Ar drysor y nefoedd, fe redodd fy mryd.

4 O melys yw'r wledd, ce's weled ei wedd,
Fy Mrenin a'm Prophwyd, mwyn hyfryd mewn hedd.

5 Fy Mhriod a'm Pen, a rwygodd y llen,
Ffordd newydd a bywiol, sy i fyn'd uwch y nen.

W. W.

## HYMN CCCLVIII. (5. 6.)

*Mawl am gariad Crist.*

1 YR Iesu yn ddilai, a'm gwared o'm gwae,
Fe safiodd fy mywyd, maddeuodd fy mai.

2 Fe'm golchodd i'n rhad, do yn wir yn ei waed,
Gan selio fy mhardwn, rhoes i mi ryddhad.

3 Mi welaf fy mod yn awr tàn y nod,
*O'm Priod* cywiraf, dilynaf ei droed.

4 Fy enaid i sydd yn awr nos a dydd,
Am ganmol fy Iesu a'm rhoddodd yn rhydd.

5 Fe'm cododd i'r lan pan oeddwn yn wan,
Amlygodd f'Anwylyd, fy rhydd-did a'm rhan.
W. W.

## HYMN CCCLIX. (5. 6.)

*" Sychedodd fy enaid am Dduw."*

1 MAE nghalon i'n friw, mewn syched 'rwy'n byw,
Am yfed o'r dyfroedd, sy'n nefoedd fy Nuw.

2 O Arglwydd fy Naf, bryd dywed y caf,
Wel'd gwerth dy wynebpryd, haul hyfryd yr haf.

3 Cof genyf fi'r pryd, y buom ni 'nghyd,
Yn rhodio mewn cariad, uwch cyrhaedd y byd.

4 Hiraethu 'rwy'n brudd, am fwy-fwy o ffydd,
A gallu i wrthsefyll, ac ennill y dydd.

5 Fy enaid dan wae, mewn syched y mae,
Drachefen am brofi, dy hedd a'th fwynhau.

6 Duw ffyddlon erioed, y credais dy fod,
Dy heddwch fel afon, yn dirion im' dod. W. W.

## HYMN CCCLX. (5. 6.)

*Y golud gwell.*

1 O TYRED i lawr, fy Arglwydd yn awr,
Rho im 'nabod dy enw, dy enw sydd fawr.

2 Mae ynot dy hun, well cyfoeth ei rin,
Na *ffeindiodd* marsiandwyr yr India yn gytun.

3 Is wybr ni bu, fath fendith i mi,
A'n Iesu i farw, ar Galfari fry.

4 A geiriau fy Nuw, sy'n gadarn o ryw;
Fe dd'wedodd cawn gonc'ro 'ngelynion bob rhyw.

5 Er bod i mi lu, o greulon rai cry',
Mi safaf yn wrol mae'm Iesu o'm tu. W. W.

## HYMN CCCLXI. (5. 6.)

*Rhinweddau croes Crist.*

1 TRWY'R byd y bo sôn, am bwrcas ei boen,
A chaned pob teulu, mai teilwng yw'r Oen.

2 Rhyfeddod y byd yw angeu mor ddrud,
A gwreiddyn caniadau'r ffyddloniaid i gyd.

3 Mi wela'n ei glwy', gyfiawnder sydd fwy,
Na meithder y moroedd, er lleted ynt hwy.

4 Mae meiau o'r fath liw, mor ffiaidd eu rhyw.
'Does dim all eu golchi, ond ffynnon fy Nuw.

5 'Rwy'n cwympo wrth dy draed, yn 'mofyn iachad,
A Balm o Galfaria, defnynau dy waed.

6 Af bellach yn hy' tua'r Ganaan sy fry,
Mi wela'r addewid, yn gadarn o'm tu. W. W.

## HYMN CCCLXII. (6. 8. 4.)

*Noddfa'r Cristion yn Nuw.*

1 TI Arglwydd yw fy rhan, a'm trysor mawr didrai,
A noddfa gadarn f'enaid gwan, yn mhob gwae;
Ac atat 'rwyf yn ffoi, dy fynwes yw fy nyth,
Pan bo gelynion yn crynhoi, rifedi'r gwlith.

2 O dangos d'allu mawr, dy faith anfeidrol ras,
A dywed wrthyf fi yn awr, caf gario'r maes;
Ac atat 'rwyf yn ffoi, dy fynwes yw fy nyth,
Pan bo gelynion yn crynhoi, rifedi'r gwlith.

3 Tydi fy Nuw ei hun, anfeidrol berffaith Fôd,
Sy'n trefnu daear, da, a dyn, i'th ddwyfol glod;
Cyf'rwydda f'enaid gwan, trwy'r anial ddod yn mlaen,
Ac arwain fi 'mhob dyrys fàn, â'th golofn dân.

4 Dy Ysbryd sanctaidd cun, dywysodd fyrdd o saint,
Rho i mi brofi ei felys rin, anfeidrol fraint;
*Fel dyfroedd* gloyw clir, i lòni'r llesg a'r gwan,
*Dyddanwch yn yr* anial dir, i'm dal i'r lan. W. W.

## HYMN CCCLXIII. (6. 8. 4.)

*Anchwiliadwy olud.*

1 O F'ENAID hed i'r làn, tros fryniau ucha'r byd,
A gwel dy gyfoeth, gwel dy ran, anfeidrol ddrud,
Trysorau o ddwyfol rin, bwrcaswyd i mi'n llawn,
Gan fy Ngwaredwr addfwyn cun, ar un prydnawn.

2 'Fe bellach fydd fy nghân, a'm hamddiffynfa glud,
Fy nhŵr, fy nghraig, a'm noddfa lân, trw'i yn y byd;
Pan talodd dwyfol waed, pwy ofyn i mi mwy?
Can's anfeidroldeb maith a gaed, mewn dwyfol glwy'.

3 Mae angeu'r groes yn fwy, na haeddiant yr holl fyd,
Y mae gruddfanau dwyfol glwy', yn gyfoeth drud;
Fe gènir myrdd yn wŷn, oll fel yr eira mân,
Ceir gwel'd rhai ffiaidd ar ol hyn, yn berffaith lân.

4 Wel, minau anturia' mwy, er cymaint yw fy mai,
Trwy'r haeddiant dwyfol sy'n ei glwy', heb lwfrhau;
O flaen yr orsedd wen, ffieiddiaf ddyn o'r blaen,
Gan gredu gall Tywysog nen, i'm gwneyd yn lân.

W. W.

## HYMN CCCLXIV. (6. 8. 4.)

*Gruddfan am waredigaeth.*

1 O TYRED addfwyn Oen, Iachawdwr dynolryw,
At wael bechadur sy tan boen, ac ofnau'n byw;
O helpa'r llesg yn awr, i ddringo o'r llawr yn hy',
Tros greigydd geirwon serth i'r làn, i Ganaan fry.

2 O dal fi, 'rwyf heb rym, yr ochr hyn na thraw,
Os sefyll wna'i, ni safai ddim, ond yn dy law;
Addewid nefoedd faith, yw'm cymhorth perffaith wir,
Na chyfeiliornaf ar fy nhaith, i Salem bur.

3 Yn eitha' grym y dwr, a'r tònau'n curo lawr,
Tywysog nefoedd yw fy Nhwr, a'm Ceidwad mawr;
Fe ddeil fy mhen i'r làn, can's ffrynd i'r gwan yw ef,
Fe'm dwg o'm cystudd yn y màn, i deyrnas nef.

4 Dewch bellach yn eich grym, elynion llym yn haid,
Er maint eich nifer 'faeddwch ddim o'r dwyfol blaid;
F' â'r lluoedd ar eu taith, trwy'r dyfroedd maith y'mlaen,
I'r wlad, sy'n llifo o fel a llaeth, y Ganaan lân.

W. W.

## HYMN CCCLXV. (6. 8. 4.)

*Haeddiant Crist.*

1 AM fod fy Iesu'n fyw, byw hefyd fydd ei saint,
Er gorfod goddef poen a briw, mawr yw eu braint;
Bydd melys lanio draw, 'nol bod o dòn i dòn,
Ac mi ro'f ffarwel maes o law, i'r ddaear hòn.

2 O angeu pur y groes, ti bellach fydd fy nghân,
'Doedd dwfr i'w gael ond ar y groes, a'm golchai'n lân;
Y ffynnon loyw lawn, sydd barod iawn o hyd,
I olchi'r Ethiop du yn wyn, hyd eithaf byd. W. W.

## HYMN CCCLXVI. (6. 8. 4)

*Cnawdoliad Crist.*

1 JEHOFAH ddaeth i lawr, o blith nefolaidd lu,
Rhyfeddwn ninau oll yn fawr, ei gariad cu!
Henffych i'r dedwydd ddydd, Emmanuel a gaed!
Caiff pechaduriaid fyn'd yn rhydd, trwy werthfawr waed.

2 Cymerodd agwedd gwas, i guddio'i ddelw ei hun,
Anfeidrol yw dyfnderoedd gras, i achub dyn:
Henffych i'r dedwydd ddydd, Emmanuel a gaed!
Caiff pechaduriaid fyn'd yn rhydd, trwy werthfawr waed.

3 "Gogoniant fo i Dduw," oedd cân y nefol lu,
"Gogoniant," caned dynolryw, mwy achos sy:
Rhodd Duw i ni yw Ef, sy bechaduriaid trist,
O cyd-foliannwn â llu'r nef, am Iesu Grist.

## HYMN CCCLXVII. (7. 4.)

*Yr achos Cenadol.*

1 Y MAE'R dyddiau yn dod i ben, dyddiau hyfryd,
Y dyrchefir Brenin nen, tros yr holl-fyd,
Fe â dwyfol angeu drud, pen Calfaria,
Trwy ardaloedd pella'r byd, Haleluia.

2 Fe bregethir Iesu a'i ras, mewn awdurdod,
Yn yr India ëang fras, yn ddiddarfod.;
Fe â swn yr udgorn clir, hyd yr eitha',
I'r Gorllewin, anial dir, Haleluia.

3 Wel, o'r diwedd daeth y dydd, pan caiff caethion,
Eu traed a'u dwylo oll yn rhydd, oedd mewn cyffion;
Dyma Jubil nefol wiw, pen Calfaria,
Minau ganaf tra f'wyf byw, Haleluia.

4 Buddugoliaeth lân a ddaw, yn mhen 'chydig,
Ni ddysgwyliwn oddi draw, wrthi'n ddiddig;
Ar ei allu mae ein ffydd, fe goncweria,
Canu ein pleser ninau fydd, Haleluia. W. W.

## HYMN CCCLXVIII. (7. 4.)

*Rhinweddau'r groes.*

1 O GALFARIA mae fy hedd, a fy mywyd,
Ac oddiyno mae fy ngwledd, nefol hyfryd;
Ac o tan ei awel wiw, fyth arosa'.
Ac mi ganaf tra f'wyf byw, Haleluia.

2 Minau gredaf yn fy Nuw, mhriod rhyfedd,
Ag fu'n farw, 'nawr sy'n fyw, yn ddiddiwedd;
Ac er mwyn ei chwys a'i waed, mi wir greda',
Ca'i ngelynion tàn fy nhraed, Haleluia,

3 Mi ymddifyra wrth ei groes, yn fy mlinfyd,
Ac mi gofia ei ddwyfol loes, nerth fy mywyd;
Yn mhob cystudd a phob gwae, mi foddlona',
Y mae'r diwedd yn nesau, Haleluia.

4 Dedwydd wyf, mi gana' mwy, dydd sy'n gwawrio,
Pan ca'i roi'm gelynion glwy', sy'n fy mlino;
Nes dod allan o bob pla, mi ddysgwylia',
Ac ar fyrder canu wna', Haleluia. W. W.

## HYMN CCCLXIX. (7. 4.)

*Y daith ysbrydol.*

1 'NOL tywyllwch hir y nos, gwawr sy'n codi,
A thrwy haeddiant dwyfol loes, daeth goleuni;
Ledio y mae'r haulwen bur, fwyn bereiddia'.
Tua'r sanctaidd hyfryd dir, Haleluia.

2 Bellach fe â'r môr yn ddau, er creuloned,
Fe wna lwybr i ni'n glau, o'n caethiwed;
Ni gawn yn yr anial dir, hyfryd fanna;
Ninau ganwn fyth yn wir, Haleluia.

3 Fe ddaw afon loyw glir, dwfr y bywyd,
O'r Messia dwyfol gwir, ein Hanwylyd;
Ni gawn drachtio'r dyfroedd byw, fyth ein gwala;
Canu'n awr ein dyled yw, Haleluia.

4 Fe gwymp Amalec i lawr, er ei allu,
Fy mhechodau fach a mawr, oll yn trengu;
Iesu mawr a dalodd iawn, fe orchfyga,
Ninau ganwn foreu a nawn, Haleluia. W. W.

## HYMN CCCLXX. (7. 4.)

*"Gwaredwr cryf."*

1 FE achubodd ef fy mlaen, Haleluia,
Ar y ffordd i uffern dân, Haleluia;
Yn ei allu des yn ol, Haleluia,
'Nawr 'rwy'n dawel yn ei gol, Haleluia.

2 Nid yw orchest i mi'n awr, Haleluia,
Garu fy Eriolwr mawr, Haleluia;
*Nid oes genyf* ond efe, Haleluia,
*Ar y ddae'r ac* yn y ne', Haleluia.

3 Ar Galfaria un prydnawn, Haleluia,
Cawsom goncwest hyfryd iawn, Haleluia;
Uffern faith a'i hanferth rym, Haleluia,
Ddarostyngwyd lawr i ddim, Haleluia. W. W.

## MYMN CCCLXXI. (7. 4.)

*Bendithion Iachawdwriaeth.*

1 IACHAWDWRIAETH sydd yn awr, dawel hyfryd,
Yn dylifo'n braf i lawr, ddwfr y bywyd;
Dyma ryfeddodau Duw! y ffieiddia,
O rai meirw'n dod yn fyw! Haleluia.

2 Darfu'r gauaf chwerw hir, amser sythdod,
Pan oedd cwsg yn llanw'r tir, a phob nychdod;
Daeth y ddwyfol nefol hin, fwyn bereiddia',
Minau ddrachtiaf nefol win, Haleluia.

3 Tarddu maes mae'r egin grawn, mewn cysondeb,
Hauwyd gynt yn arfaeth lawn, trag'wyddoldeb;
Ac ni chollir un o'r had, y rhai lleia',
Blanwyd yno gan ein Tad, Haleluia.

4 Dyma orchwyl Brenin ne', ein Hanwylyd,
Nid oedd arall ond efe, ro' i'n iechyd;
Am ei ras a'i ddwyfol glwy', tra f'om yma,
Cawn ni seinio bellach mwy, Haleluia. W. W.

## HYMN CCCLXXII. (7. 4.)

*Parhad mewn gras.*

1 NI chaiff fyth o'i ddefaid rhi, fyn'd yn ango',
Ar ei ysgwydd cwyd ef ni, er in' grwydro;
Ar lân afon ddwyfol wiw, cawn ein gwala,
Porfa fras a dyfroedd byw, Haleluia.

2 Bugail yw, fe roes ei waed, dros ei ddefaid,
Ac fe'n prynodd ni yn rhad, o'n caethiwed;
Dygodd ni i brofi blas, dwyfol fanna,
Bellach canwn am ei ras, Haleluia.

3 Nid oes terfyn fyth i'w gael, ar ei gariad,
Mae'i drysorau mawrion hael, uwch eu dirnad;
Ynddo ei hunan mae yn llwyr, oll ddymuna',
Minau ganaf foreu a hwyr, Haleluia. W. W.

## HYMN CCCLXXIII. (7. 4.)

*Anwylyd yr eglwys.*

1 GWYN a gwridog hawddgar iawn, yw f'Anwylyd,
Donia'r nefoedd sy ynddo'n llawn, peraidd hyfryd;
Daear faith ac uchder ne', fyth ni *ffeindia,*
Arall debyg iddo fe, Haleluia.

2 Dygodd f'enaid ar ei ol, yn dra rhyfedd,
Minau orphwysaf yn ei gol, hyd y diwedd;
Ffowch greaduriaid o bob rhyw, mwy ni chara',
Wrthddrych arall ond fy Nuw, Haleluia.

3 Ynddo ei hunan mae yn llawn, bob trysorau,
Dwyfol berffaith werthfawr iawn, am fy meiau;
Gwir ddoethineb hedd a gras, gwerthfawroca',
Nerth i hollol gario'r maes, Haleluia.

4 Dyma sylfaen gadarn gre', trwy fy mywyd,
Credu ac edrych arno fe, yw fy ngwynfyd;
Ynddo bellach drwy bob pla, y gobeithia',
Ac mewn rhyfel canu wna', Haleluia. W. W.

## HYMN CCCLXXIV. (7. 4.)

*Taith yr anialwch.*

1 TEITHIO 'rwyf fynyddau maith, dyrys anial,
A gelynion ar fy nhaith, sy'n fy attal;
*Ond mi wela'm* hyfryd wlad, trwy'r eangder,
*Ac i mewn i dŷ* fy Nhad, dof ar fyrder.

2 Mi gaf goncwest yno'n lân, ar elynion,
Nwydau oedd yn curo o'r blaen, arnai'n gyson,
Ni ddaw pechod o un rhyw, fyth i'm blino,
Na'r temtasiwn oreu ei liw, i mewn yno.

3 Ond llawenydd fel y môr, sy wrth ei orsedd,
A thangnefedd ddwyfol 'stor, fyth heb ddiwedd;
Mi gaf drachtio'r hyfryd hedd, ffynnon bywyd,
Sydd yn tarddu o waelod bedd, fy Anwylyd. W. W.

## HYMN CCCLXXV. (7. 4.)

*Y cynhauaf ysbrydol.*

1 O GALFARIA llifodd hedd, dwyfol dirfin,
Concwest uffern, angeu, a'r bedd, maith diderfyn;
Dyna'r awr a thyna'r fan, clwyfwyd hwythau,
Ag a gurodd f'enaid gwan, fil o weithiau.

2 Dyma'r ffrwythau gwerthfawr iawn, melys hyfryd,
Gawd yn pyngu un prydnawn, ar bren y bywyd;
Dyma'r pomgranadau pur, doniau dwyfol,
Ag a'n dwg o'r anial dir, i'r wlad nefol.

3 Bellach ninau caru wnawn, ein Hanwylyd,
Yn ei angeu gwerthfawr llawn, cawsom fywyd;
Tàn ei aden gynes glud, boed in'dreulio,
A difyru'n hoes o hyd, nes el heibio. W. W.

## HYMN CCCLXXVI. (7. 4.)

*Dychweliad yr afradlawn.*

1 MYN'D a wnaf dan godi'm llef, a chyfadda',
Pechu wnes yn erbyn nef, o'th flaen ditha';
Nid wyf deilwng fab i ti, Dad trugarog,
Rho le i mi yn dy dŷ, fel gwas cyflog.

2 Dowch blant afradlon at eich Tad, mae i chwi groeso,
A fu 'mhell o dir eich gwlad, yn crwydro;
Mae'r llo pasgedig wedi ei ladd, ni gawn wledda,
Ac mae'r gweision etto'n gwa'dd, Haleluia. G.

## HYMN CCCLXXVII. (7. 4.)

*Ffynnon i olchi pechod.*

1 CANED nef a daear lawr, fe gaed ffynnon,
I olchi pechaduriaid mawr, yn glaer wynion;
Yn y ffynnon gyda hwy, minau 'molcha',
Ac a ganaf fyth tra fwy', Haleluia.

2 Fe genir yno am y gwaed, gliriodd feiau,
Ac am y concwest mawr a gaed, ar Galfaria;
Gan iddo fyn'd i lawr i'r bedd, a chyfodi,
Am hyny byddwn ar ei wedd, yn ei foli. G.

3 Dyma'r aberth mae erioed, sôn am dano,
Ar y ddaear 'does yn bod, debyg iddo;
Mae Seraphiaid pena'r nen, yn rhyfeddu,
Wel'd eu Brenin ar y pren, 'nawr yn trengu. W. W.

## HYMN CCCLXXVIII. (7. 4.)

*Y sylfaen safadwy.*

1 CRAIG safadwy dan fy nhraed, wyf yn 'mofyn,
O dragwyddol faith barhad, rhag y gelyn;
Noddfa gadarn f'enaid yw, minau gana';
Cododd Iesu o'i fedd yn fyw, Haleluia. G.

2 Iesu ein Harchoffeiriad mawr, yn dragwyddol,
Ei werthfawr waed a roes i lawr, dros ei bobl:
Eiriol mae ger bron y Tad, yn ddiflino,
Ac yn dadleu gwerth ei waed, moliant iddo.

3 Aed efengyl gras ar led, trwy'r holl wledydd,
Plygu wnelo rhai digred, i Fab Dafydd;
Doed trigolion dae'r a nef, o un galon,
I wel'd mai teilwng ydyw ef, i gael y goron. DR. L.

## HYMN CCCLXXIX. (7. 4.)

*Dyfod i fynu o'r anialwch.*

1 OS rhaid i'm' ddyoddef ar fy nhaith, dywydd garw,
Cadw f'ysbryd yn dy waith, hyd fy marw:

Yn y babell gyda'r arch, boed fy nghartrau,
A chadw yn fy enaid barch, i dy ddeddfau. J. H.

2 Er gorfod goddef llawer loes, ar eu teithiau,
Fe ddaw pwrcas gwaed y groes, yn iach adrau;
Er eu gweled yma yn drist, y'nglyn wylofain,
Pan ddont i orphwys gyda Christ, derfydd cwynfan.

3 'Rwy' wedi blino ar y wlad, lle mae pechu,
Am ddod adre' i dŷ fy Nhad, 'rwy'n hiraethu:
Bydd dy hunan Iesu mawr, yn fy nerthu,
Na âd i'm roddi f'arfau i lawr, nes gorchfygu. G.

## HYMN CCCLXXX. (7. 4.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 Y MAE heddyw nefol wawr, yn llewyrchu,
Ac yn chwalu'r tywyllwch mawr, fel y fagddu;
Ernes yw o fore llawn, o'r uchelder,
Ymddysgleiria'n hyfryd iawn, Haul Cyfiawnder.

2 Rhaid i'r Iesu'n helaeth gael, y mae'n haeddu,
Gwel'd o ffrwyth ei lafur hael, a'i ddiwallu;
Myrdd o Negroes, estron lu, dont yn fuan,
Profi gânt ei gariad cu, i rai aflan.

3 Ninau 'molchwn gyda hwy, yn y ffynnon,
Mae glanhad trwy farwol glwy', i'n rai duon;
Ni chaiff trag'wyddoldeb maith, drai na diwedd,
Ar ein cân, a hyfryd waith, ei glodforedd. G.

## HYMN CCCLXXXI. (7. 4.)

*Tegwch Crist.*

1 FY Anwylyd hawddgar yw, gwyn a gwridog,
Ac ar filoedd Israel wiw, mae'n fanerog;
Perffaith degwch sy'n ei wedd, Ior tragywydd,
*Ef* sy gadarn D'wysog hedd, ar lu'r Arglwydd.

2 Megys lili coch ei liw, ei wefusau,
Yn dyferu myrr yn wiw, gwlithog flodau;
Mae ei eiriau mawr o werth, ac iachusol,
Yn rhoi adnewyddol nerth, i'r diffygiol.

3 Ei enau ef, ei eiriau llawn, melys odiaeth,
Mae ef oll yn hawddgar iawn, uwch cymhariaeth;
Wele dyma 'nghyfaill gwiw, a'm Hanwylyd,
Merched Salem, onid yw, Ef yn hyfryd. J. H.

## HYMN CCCLXXXII. (7. 4.)

*Iawn ac eiriolaeth Crist.*

1 ANGEU ac eiriolaeth Crist, yw ngorfoledd.
Hyn a ddwg i'm henaid trist, lawn dangnefedd:
Collai'r ddeddf ei damniol rym, ar Galfaria;
Dofwyd llid cyfiawnder llym, Haleluia.

2 Iesu yw dyfyrwch f'oes, yn fy mlinfyd;
Ac ymffrostiaf yn ei groes, dros fy mywyd;
Tan ei gysgod, nos a dydd, gwnaf fy nhrigfa;
Fy nhŵr cadarn byth a fydd, Haleluia.

3 Iesu a'i gyfiawnder ef, yw fy mywyd;
Fe'm cymhwysa' i deyrnas nef, trwy ei Ysbryd:
Golchir fi o'm pen i'm traed, fel yr eira,
Trwy rinweddau dwyfol waed, Haleluia.

4 Mae fy Mhrynwr heddyw'n fyw, ac yn eiriol:
Sail eiriolaeth drosof yw, Iawn digonol:
Ei waith ynof yn y màn, a berffeithia,
Gorfoleddaf yn fy rhan, Haleluia. P. J.

## HYMN CCCLXXXIII. (7. 4.)

*Brwydr Calfaria.*

1 DACW'R deg gorchymyn pur, ar Galfaria,
Dacw'r hwn wnaeth fôr a thir, yn y ddalfa;
Dacw'r ddeddf yn gofyn iawn, hyd yr eitha',
*Dacw iddi daliad llawn,* Haleluia.

## CCCLXXXIV. (8. 6. 8. 7.)

*Gwledd yr Efengyl.*

1 Y CWBL feddai oll yn un,
O entrych nen i'r llawr,
A roed i gadw'n glyd dan sêl,
Yn haeddiant Iesu mawr:
Dowch ac yfwch o'r bendithion,
Sydd yn llifo fel yr afon,
O Galfaria maes yn gyson,
Maith gyflawnder, maith gyflawnder
Heb na therfyn byth na thrai.

2 Mae yma ffynnon sy'n glanhau,
Budreddi brwnt yn lân,
A hyfryd olchi'r ffiaidd cas,
Yn loyw fel y gwlan:
Dowch ac yfwch o'r bendithion, &c.

3 Maddeuant sy yma perffaith lawn,
I'r cystuddiedig rai;
Mae'r haeddiant fry yn clirio'n lân,
Bob rhyw aneirif fai:
Dowch ac yfwch, &c. W. W.



## HYMN CCCLXXXV. (8. 6. 8. 7.)

*Cadernid Sion.*

1 'RWY'N dysgwyl am yr hyfryd awr,
'R â fy nghadwynau yn rhydd;
Ac mi orfoledda'n awr,
Wrth feddwl am y dydd:
Dyma'r fan y gwnaf fy nhrigfan,
O fewn muriau'r nef ei hunan,
Uchlaw cyrhaedd byd a Satan,
Dinas gadarn, dinas gadarn,
Ar anfeidrol ddwyfol graig.

2 'Rwy'n trigo mewn anialwch maith,
Gwlad galar, a gwlad gwae;
A themtasiynau ar fy nhaith,
Sy 'mron a'm llwfrhau:
Dyma'r fan y gwnaf fy nhrigfan, &c.

3 Mae'r gwyntoedd poethion, sychion cry',
Yn chwythu yn eu grym,
Taranau a chymylau dû,
Sy'n bygwth niwed im':
Dyma'r fan, &c. W. W.

## HYMN CCCLXXXVI. (8. 6. 8. 7.)

*Anchwiliadwy olud Crist.*

1 YN mhlith holl ryfeddodau'r nef,
Hwn yw y mwyaf un;
I wel'd anfeidrol ddwyfol Fod,
Yn gwisgo natur dyn;
Mae ynddo drysor fel y cefnfor,
Byth ni cheisiaf ddim yn rhagor,
Hedd a bywyd yw ei ffafor,
Nefoedd berffaith, nefoedd berffaith,
Yw cael drachtio ei ddwyfol hedd.

2 Doed y trueiniaid yma y'nghyd.
Yn finteoedd heb ddim rhi';
Cânt eu diwallu oll yn llawn,
O ras y nefoedd fry:
Mae ynddo drysor, fel y cefnfor, &c. W. W.

3 Mae mil o filoedd ger ei fron,
Yn treulio'r amser maith;
A byth heb golli'r cariad pur,
Na'r pleser yn y gwaith:
*Mae* ynddo drysor, fel y cefnfor, &c. G.

## HYMN CCCLXXXVII. (8. 6. 8. 7.)

*Yr achos Cenadol.*

1 FY Iesu Brenin nef a dae'r,
Ei hunan unig yw,
Trwy bwrcas llawn ei werthfawr waed,
Iachawdwr dynolryw;
Aed ei air i blith y werin,
Sy'n y dwyrain a'r Gorllewin,
Fel bo'i enw mawr heb derfyn,
Canu iddo, canu iddo, Haleluia gylch y byd.

2 Mae clywed newydd am ei waed,
Yn llifo ar Galfari,
Yn un o'r pethau mwya' ei fraint,
A fedd ein daear ni:
Aed ei air i blith y werin, &c.

3 Fe gar y Negro tywyll du,
E'n hyfryd maes o law,
Pan tywyno gwawr Efengyl gras,
I dir yr India draw:
Aed ei air i blith y werin, &c.

4 Fe ddaw'r blynyddau pur i ben,
Pan tywyno Efengyl gras,
Fel haul ddysgleirwen yn y nef,
Yn gylch i'r ddaear las:
Aed ei air i blith y werin, &c.

5 Ac mi ddysgwylia'r hyfryd awr,
Boreuddydd Jubili,
Pan ddelo holl dylwythau'r byd,
I deithio i Galfari:
Aed ei air i blith y werin, &c. W. W.

## HYMN CCCLXXXVIII. (8. 6. 8. 7)

*Rhinweddau gwaed Crist.*

1 O DOWCH genhedloedd, dowch yn un,
Tros rwystrau maith eu rhi',

A gwir ryfeddwch tra f'och byw
Ddyoddefaint Calfari:
Clod diderfyn fo i'r Brenin,
Ddaeth o Jesse hardd flaguryn,
Alpha, Omega, dwyfol wreiddyn,
Ffynnon bywyd, ffynnon bywyd,
I rai'n teithio yn ngwres y dydd.

2 Fe dalodd yr anfeidrol swm,
Fel Meichai yn ein lle,
Ac felly fe gymmododd holl
Briodoliaethau'r ne':
Clod diderfyn fo i'r Brenin, &c.

3 Mae cofio heddyw am ei waed,
O flaen yr orsedd fry,
Yn creu fath heddwch dwyfol pur,
I'r holl grediniol ri':
Clod diderfyn, &c.

4 Fe ddwg ei saint i'r euraidd fan,
Y dringodd iddo ei hun,
A hwy gânt wel'd y dwyfol wedd,
A wisgodd natur dyn:
Clod diderfyn, &c. W. W.

## HYMN CCCLXXXIX. (8. 6. 8. 7.)

*Anchwiliadwy olud gras.*

1 WEL, dyma gyfoeth gwerthfawr llawn,
Uwch holl drysorau'r llawr,
Wedi ei ro'i gadw oll y'nghyd,
Yn haeddiant Iesu mawr:
Boed tragwyddol barch a moliant,
Fyth i Frenin y gogoniant,
Ar ei 'Fengyl wen bo'r llwyddiant,
I ddwyn heddwch, i ddwyn heddwch,
*I derfynau* eitha'r byd.

2 Ei gariad lifodd ar y bryn,
Fel moroedd mawr didrai,
Ac fe bwrcasodd yno hedd
Tragwyddol i barhau:
Boed tragwyddol barch a moliant, &c.

3 Ei gariad bery pan bo'r byd,
A'r haulwen fawr yn ddim,
Ac nid oes cariad yn y byd,
Gyffelyb idd' i'w rym:
Boed tragwyddol barch a moliant, &c.

4 Pan syrthio'r ser fel ffigys îr,
Fe bery gras fy Nuw,
A'i faith ffyddlondeb tra fo'r nef,
Anghyfnewidiol yw:
Boed tragwyddol barch a moliant, &c. W. W.

## HYMN CCCXC. (8. 6. 8. 7.)

*Glanhau oddiwrth bob pechod.*

1 ER maint fy llygredd o bob rhyw,
Er cymaint yw eu rhif,
Ac er fy nwydau cyndyn chwith,
Sy'n para fyth yn gryf;
Afon loyw redodd allan,
O tan drothwy'r nef ei hunan,
I olchi'r euog, i olchi'r aflan;
Haleluia, Haleluia,
Dwfr heb ddarfod, dwfr heb drai.

2 Af at yr orsedd fel yr wyf,
Anfeidrol orsedd gras,
Datguddia f yno nghlwyfau maith,
A'm holl archollion cas:
Afon loyw, &c.

3 Mi welaf lu anfeidrol wyn,
Yn aml fel y ser,
Ag fu fel finau oll yn frwnt,
Yn bur yn nghwmni'm Ner:
Afon loyw, &c.

4 Wel finau'r eiddil gwana' ei lun,
Heb ddim ond ffiaidd friw,
Anturiaf at drysorau'r nef,
Cyfiawnder pur fy Nuw:
Afon loyw, &c. W. W.

## HYMN CCCXCI. (M. C. D.)

*Llwyddiant yr Efengyl.*

1 AED swn Efengyl bur ar led,
Trwy barthau'r byd o'r bron,
Boed llwyddiant drwy deyrnasoedd cred,
Lle mae pregethiad hon;
Fel delo miloedd etto i maes
O'r tywyllwch cas i fyw,
Trwy'r India draw, ac Asia fras,
I ganmol gras ein Duw.

2 Aed sain yr udgorn arian mawr,
Y'mlaen trwy'r anial dir;
A doed y werin gyda'r wawr,
I 'mofyn am y gwir;
Helaetha'th babell'r ochr hyn,
Estyn gortynau i maes;
O oes i oes, tra paro'r byd,
Bydd canmol golud gras.

3 Aed mawl a gweddi'r saint i'r lân,
Fel pêr aberthau byw;
A boed serchiadau Sïon wan,
Ar dân yn moli Duw!
Mewn gemwaith aur bydd hon cyn hir,
Heb dristwch, cur, na phoen,
Yn canu am goncwest mawr a gaed,
Trwy werthfawr waed yr Oen.

## HYMN CCCXCII. (7. 8.)

*Gwlad well.*

1 Y TIR dymunol peraidd,
Yr ardal hyfryd euraidd,
Ag oedd yn mhell yn sefyll draw,
A ddaeth gerllaw o'r diwedd;
Er lludded ac er blino,
Na fydded i'n ddiffygio,
Yr ym yn nes-nes awn ar frys,
I mewn i'r llys yn gryno.

2 Ac yno ni gawn ganu,
Y goncwest gwrol hyny,
Ac oe'm ni'n 'mofyn yn y byd,
O hyd o hyd ei feddu;
A rhwymo mewn cadwynau,
Hen Satan a'n cystuddiau,
Heb allu ein temtio ar ol hyn,
Na dannod in' ein beiau.

3 Ond gorphwys yn ddihangol,
O'n temtasiynau'n hollol,
Mewn maith dangnefedd pur didrai,
Sydd yn parhau'n dragwyddol;
A hyfryd ymddifyru,
Yn ein Hanwylyd Iesu,
A threulio Sabbath melys gwiw,
Tragwyddol i'w foliannu.

4 Seraphiaid ac angelion,
Un cwmni dwyfol ffyddlon,
Blith draphlith a'r holl saintiau 'nghyd,
Yn canu 'gyd yn gyson;
Oll mewn rhyw syndod rhyfedd,
Yn edrych tua'r orsedd,
Yn drachtio cariad pur dilyth,
Heb deimlo byth o'i ddiwedd. W. W.

## HYMN CCCXCIII. (7. 8.)

*Gorphwysfa etto yn ol.*

1 MAE'R dydd yn dod i fynu,
Cawn gwrdd yn un cwmpeini,
O fewn i'r wlad sy heb elyn caeth,
Na phechod 'chwaith i'n drygu;
Ac yno ni gawn orphwys,
O fewn i'r wir baradwys,
Tan gysgod pren y bywyd cun,
Yr hwn ei hun a'n prynwys.

2 Fe dderfydd ein cystuddiau,
Pryd hyn a'n temtasiynau,
Fydd neb roi beichiau ar ein gwàr,
Na'n denu oddi ar y llwybrau;
Pob niwed wedi symud
O'r ffordd, gan ein Hanwylyd,
Heb wylo na galaru mwy,
Na phoen, na chlwy', na gofid.

3 Ond canu'r gân dragwyddol,
Am alw ac am ethol,
Am gariad ag fu ar y groes,
Yn marw tros ei bobl;
Am fynydd bach Calfaria,
Gliriodd y dylêd mwya',
Nas gall'sai ei dalu neb yn fyw,
Ei hun ond Duw gorucha'. W. W.

4 O gwyn ei fyd y dyrfa,
Sy'n canu Haleluia,
Cawn ninau ddianc cyn bo hir,
I mewn i'r wir orphwysfa;
I ganu i dragwyddoldeb,
Mewn hwyl a nefol undeb,
Heb gwmwl rhyngom byth mewn hedd,
*A siriol* wedd ei wyneb. G.

## HYMN CCCXCIV. (7. 8.)

*Pob peth yn barod.*

1 HOSANNA Haleluia,
I'r Oen fu ar Galfaria,
Gorphenodd iachawdwriaeth dyn,
Efe ei hun yw'r noddfa;
Tragwyddol ddiolch iddo,
Am faddeu a thosturio,
Anfeidrol fraint i lwch y llawr,
Fod croeso'n awr ddod ato.

2 Mae'n achub hyd yr eitha',
Y pechaduriaid mwya',
Fe drefnwyd ffordd i gadw dyn,
Gan Dri yn Un Jehofa;
Anturiwn ninau ato,
Mae Iesu'n achub etto,
A chroeso i bechaduriaid mawr,
Bob mynyd awr ddod ato.

3 Mae'r dyled wedi ei dalu,
Ac uffern wedi ei maeddu,
Gobeithiol garcharorion sy',
Yn dod yn llu i fynu;
Mae'r pyrth yn llawn agored,
Doed Israel o'r caethiwed,
Pob llesg a gwan byth ger ei fron,
Cânt wel'd yn llon ei nodded. D. C.

4 O llanwed iachawdwriaeth,
Fel môr didrai yn helaeth,
A doed ynysoedd pell y byd,
I gyd, gael meddyginiaeth;
Mae'r Brenin ar ei orsedd,
Yn cynyg o'i drugaredd,
I bechaduriaid tlodion gwael,
Ddod ato i gael ymgeledd. G.

# HYMN CCCXCV. (7. 8.)

*Duw yn gwaredu ei bobl.*

1 PA gynhwrf a pha ruddfan,
Sydd drwy holl faesydd Söan:
Pa dorf yw hon sy'n dod i maes,
Heb ynddi neb yn egwan;
Duw Abra'm sydd yn gwared,
Ei hil o'u blinfyd caled,
A'u dwyn y mae gan ddryllio'r Aipht,
O'u haiarn bair gaethiwed.

2 Pwy rwyga iddi'r dyfroedd,
Balmanta'r gorddyfnderoedd?
A'u harwain drwy'r anialwch maith,
Gan borthi eu haml filoedd?
Ei chymhorth llawn digonol,
Yw'r YDWYF mawr trag'wyddol:
I'r Ganaan wiw eu harwain wna,
Trwy wyrthiau tra rhyfeddol.

3 Paham y ciliwch ddyfroedd,
Y neidiwch chwi fynyddoedd?
Yr wylwch chwithau greigydd hyll,
Yr anial dir yn llynoedd?
Onid gweddus i ni barchu,
Ein Crëwr mewn mawrhydi;
Yn rhodio o flaen ei braidd yn hardd,
O'r anial dir i fynu?

4 I bwy, y bryniau oesol,
Y plygwch chwi yn drefnol?
A thi Iorddonen gyflawn gref,
Y rhedi yn dy wrthol?
I'r hwn sy'n pwyso'r bryniau,
Fel mân-lwch mewn clorianau;
Ac yn ei law mae'r moroedd mawr,
A'u 'nysoedd megys brychau. D. C.

## HYMN CCCXCVI. (7. 6. 5.)

*Gobaith gwynfydedig.*

1 HENFFYCH i'r bore hyfryd,
'Ddaw gelyn byth nac adfyd,
I dir y bywyd fry;
Y seintiau ddaw y'nghyd, bob wyneb i'r byd,
Yn unfryd yno i ganu.

2 Fry yn Nghaersalem dawel,
Y'mhell o swn y rhyfel,
Caf uchel ganu clod;
Fy nefoedd ddiboen, fydd gweled yr Oen,
Fe dderfydd sôn am bechod.

3 Caf wel'd y Bôd anfeidrol,
Y Tri yn Un tragwyddol,
Rhyfeddol nefol Oen;
Fe'm tynodd yn lân, bentewyn o'r tân,
Fy enaid cân yn gyson.

4 Gwneir diwedd ar bob blinfyd,
Fy nghystudd mawr, a'm hadfyd,
Yn nhir y bywyd fry;
Tragwyddol fwynhad, yn nheyrnas fy Nhad,
Heb unrhyw frad i'n drygu.

5 Mi gysgaf hûn yn dawel,
Dros enyd yn y grafel,
Nes dattod trefn y rhod;
Ac yno mewn hedd, y codaf o'm bedd,
Ar ddysglaer wedd fy Mhriod. M. R.

## HYMN CCCXCVII. (7. 3.)

*Rhinweddau'r Efengyl.*

1 MAE 'Fengyl gras yn t'wynu, mawr yw'r fraint, &c.
I gasglu llafur Iesu, mawr yw'r fraint;
Mae lluoedd maith yn barod, yn y Gaersalem uchod,
A thyrfa fawr yn dyfod, mawr yw'r fraint, &c.
Dan faner Iesu isod, mawr yw'r fraint.

2 Mae bwrdd yn llawn danteithion, dowch y'mlaen, &c.
Gan sanctaidd Frenin Sïon, dowch y'mlaen;
Cawn wledda oll yn ddiddig, fry ar y llo pasgedig,
Ac yfed gwin puredig, dowch y'mlaen, &c.
Gwir haeddiant Iesu'n unig, dowch y'mlaen.

3 Mae uffern wedi ei maeddu, diolch byth, &c.
A'r dyled wedi ei dalu, diolch byth;
Mae T'wysog mawr y bywyd, fry ar ei orsedd hyfryd,
Yn eiriol dros ei anwylyd, diolch byth, &c.
Cawn ddianc uwchlaw adfyd, diolch byth.

4 Cawn hyfryd deml newydd, cyn bo hir, &c.
Heb lygredd yn dragywydd, cyn bo hir:
Fry gyda'r duwiol deulu, sy'n moli'r Arglwydd Iesu,
Gan uchel lawenychu, cyn bo hir, &c.
Heb elyn i'n gorthrymu, cyn bo hir.

## HYMN CCCXCVIII. (7. 3.)

*Yr yrfa ysbrydol.*

1 O RHEDWN bawb yr yrfa, dyma'r dydd, &c.
I'r bywyd am y cynta', dyma'r dydd;
Aeth gwlaw a'r gauaf heibio, mae'r ddaear yn blodeuo,
A'r adar yn ymbyncio, dyma'r dydd, &c.
Mae'r durtur fwyn yn seinio, dyma'r dydd.

2 Yn wyneb gorthrymderau, af y'mlaen, &c.
A duon ragluniaethau, af y'mlaen;
Er môr a'i dònau mawrion, a dyfroedd Mara chwerwon,
Y'nghyd a'm holl elynion, af y'mlaen, &c,
Nes gorphwys fry yn Sïon, af y'mlaen.

3 'Does yma ond trai a llanw, i barhau, &c.
Ac yfed cwpan chwerw, i barhau;
Ond yn y Ganaan nefol, dim eisieu yn dragwyddol,
*Caf ddysglaer* ddyfroedd bywiol, i barhau, &c.
*A'i yfed yn wastadol*, i barhau.

4 Aeth llu o'r genedl gyfion, oll yn iach, &c.
I sanctaidd ddinas Sïon, oll yn iach;
Mae etto dyrfa yn dyfod, o'r cystudd mawr a'r trallod,
Cawn yno gydgyfarfod, oll yn iach, &c.
Ar ddysglaer wedd ein Priod, oll yn iach.

## HYMN CCCXCIX. (6. 8.)

*Rhinweddau'r Iachawdwriaeth.*

1 O IACHAWDWRIAETH fawr!
A lifodd i ni lawr, &c.
Yn ffrydiau pur grisialaidd byw;
Maddeuant i ni gaed, &c.
A heddwch yn y gwaed, &c.
O gariad rhad ein Tad a'n Duw.

2 Am iachawdwriaeth lawn,
Foreuddydd a phrydnawn, &c.
Moliannu gawn yr Iesu gwiw;
Dyoddefodd angeu loes, &c.
Yn ddiddig ar y groes, &c.
A'i ddoniau roes i ddynolryw.

3 Gorphenwyd talu'n llawn,
Ar groesbren un prydnawn, &c.
O ddedwydd Iawn! ni gawn yn llu,
Faddeuant yn ei waed, &c.
A hollol wir iachad, &c.
A Duw yn Dad, mewn cariad cu.

4 Rhyw dorf o ddysglaer lu,
O flaen y fainc y sy, &c.
Yn moli'n gu, a'i mawl ar g'oedd;
Angelion pur eu cân, &c.
A seintiau fawr a mân, &c.
Yn Salem lân, byth wrth eu bodd.

## HYMN CCCC. (6. 8.)

*Ffynnon i olchi pechod.*

1 AGORWYD ar y bryn,
Ryw ffynnon rad cyn hyn, &c.
A'm gylch yn wyn o'm pen i'm traed;
Mae'n golchi'r dua ei liw, &c.
Mor wyn a'r eira gwiw, &c.
Rhinweddol yw y dwyfol waed!

2 Y ffynnon loyw hon,
Yn ol y wayw-ffon, &c.
Aeth dan ei fron, daeth i ni fraint;
Hi ylch y brwnt yn lân, &c.
Hosanna f'enaid cân, &c.
Can's dyma sylfaen yr holl saint.

3 Y ffynnon loyw hyn,
A darddodd ar y bryn, &c.
Yn ffrydiau o anfeidrol hedd;
Rhyw fôr o gariad yw, &c.
Dy heddwch di fy Nuw, &c.
A nef y nef yw gwel'd dy wedd. G.

## HYMN CCCCI. (6. 8.)

*Ymhyfrydu yn Nuw.*

1 MI dreulia oriau f'oes,
Yn dawel dan y groes, &c.
Dim ond cael edrych ar dy wedd;
Perffeithrwydd pleser yw, &c.
Y wledd o gariad Duw, &c.
Fy holl ddyddanwch a fy hedd.

2 'Does unrhyw drysor drud,
Fel Ef o fewn y byd, &c.
Mae'n gwneyd fy ysbryd llesg yn llon;
Mwy'n llawen byddai'n byw, &c.
Yn noddfa bur fy Nuw, &c.
*Dan holl* gystuddiau'r ddaear hon.

3 Mewn dyrys anial le,
Heb gyfaill îs y ne', &c.
Y gallaf ond cael cwm'ni'm Duw;
Ddifyru'm hoes mewn hêdd, &c.
Nes myn'd i byrth y bedd, &c.
Yn hyfryd wedd dy wyneb gwiw.

4 Rho nerth i ddwyn y groes,
Tra paro dyddiau f'oes, &c.
Na âd im' ddigaloni mwy;
Wrth wel'd gelynion lu, &c.
Eu saethau'n aml sy', &c.
O cuddia fi, o fewn dy glwy'. G.

## HYMN CCCCII. (6. 8.)

*Gobaith gwynfydedig.*

1 PLANT caethion Babilon,
Do'nt adre' o don i dòn, &c.
Cânt wledda'n llon, mae'r dydd gerllaw;
Yn ngwydd eu Harglwydd da, &c.
O swn y byd a'i bla, &c.
O ddedwydd ha', pa bryd y daw?

2 Anghenus wyf o hyd,
Mewn trallodedig fyd, &c.
Ac nid oes fythol ddim i'w gael;
Gyflawna'm heisiau i gyd, &c.
A'm càna i oll y'nghyd, &c.
Ond haeddiant drud, fy Iesu hael.

3 Mi wna fy nghartre' mwy,
Dan gysgod marwol glwy', &c.
'Does noddfa addas dan y nef,
I'r euog gael glanhad, &c.
Ond yn y ffynnon rad, &c.
O ddwfr a gwaed a gollodd ef.

4 'Rwy'n nesu at yr awr,
I gael fy nhori i lawr, &c.
A'm dodi i orwedd lle bu Ef;
Lle i orphwys yno 'fydd, &c.
Hyd oni ddelo'r dydd, &c.
Daw Iesu ar gymylau'r nef.

5 Dysgwyliwn ronyn bach,
Cawn ddod yn gwbl iach, &c.
Ac yna bydd caniadau heb ri';
A'u sylwedd fydd y gwaed. &c.
A ddyry im'iachad, &c.
A'r concwest gaed ar Galfari. G.

## HYMN CCCCIII. (6. 8. 6.)

*Crist yn bob peth.*

1 MI deithia'r anial trwy,
Y rhinwedd sy'n ei glwy',
Fy nghadarn sail, yw Adda'r ail,
Gwnaf f'adail arno mwy:
Trag'wyddol graig, yw had y wraig,
Rhag drygau'r ddraig a'i llid;
Mae'n Feddyg da, fe'm llwyr wellha,
O'm dyfnaf bla, a'm cànu wna,
Fy nghyfaill gora' i gyd.

2 Ni fedda'i dan y ne',
Yn unig ond Efe,
Fy noddfa a'm Ner, sydd uwch y ser,
A'm llawnder yn mhob lle:
Fy Nhad a Nhwr, a'm sylfaen siwr,
Hwn ydyw'r gwr a ge's;
Ei hun fe roes, ei fath nid oes,
Mi gym'rai ei groes, tra paro f'oes,
*Gwnaeth* lawer i mi o les.

3 Ar dân, yn làn bo lu
Yn canmol Iesu'.cu;
Gwnaeth daliad llawn, ar un prydna wn,
Am hyny awn yn hy'
At orsedd Ior mae yma stôr,
Fyth fel y môr a mwy;
Ei haeddiant ef sy'n noddfa gref,
O ganol nef, fe glyw ein llef,
Bu'n dyoddef marwol glwy. G.

## HYMN CCCCIV. (6. 8. 6.)

*Dyfroedd yr Iachawdwriaeth.*

1 MAE'R ffynnon heb ei chau,
Sy'n golchi'r ffiaidd rai,
Mae croeso yn hon, i bawb yn llon,
I gael eu llwyr lanhau;
Ceir gweled llu, o'r Negroes du,
Oll wedi eu cànu'n lân:
Mewn ffynnon lawn, o ddwyfol ddawn,
Ein golchi gawn, yn hyfryd iawn,
Fîl myrdd fel eira mân.

2 Un aberth mwy nid oes,
Ond Iesu fu ar y groes,
Iachawdwr rhad, trwy rin ei waed,
Rhydd i'm ryddhad o'm loes:
Mae'n gadarn Ior, a'i ras yn stor,
Fel môr o drysor drud;
Ac ato ef, sy' ar orsedd nef,
Dyrchafa'm llef, am gymhorth gref,
I goncro meiau i gyd.

3 Fy unig noddfa yw,
Yr Oen mae'n Geidwad gwiw,
Fe gollai ei waed, rhydd lwyr iachad,
O'i rad i ddynolryw:
Ei nerth a gâf, pa elyn saf?
O flaen fy Naf o'r nef;
Caf yn y man, er bod yn wan,
Yr hyfryd lan, yn rhwydd a'm rhan,
Yn gyfan gydag ef.

4 Ior cynnal f'enaid gwan,
Trwy'r moroedd mawr i'r lan,
Yn mlaen o hyd, er cnawd a byd,
I forio i'r hyfryd fan:
Cael Manna wrth raid, a'r dwfr dibaid,
  Gwledd dawel fy enaid yw;
A phrofi'th hedd, effeithiol wledd,
A'th hyfryd wedd, tu yma i'r bedd,
  Hyn yw 'nigonedd gwiw. G.

## HYMN CCCCV. (6. 8. 6.)

*Nerth yn ol y dydd.*



1 YR Arglwydd ar fy nhaith,
  A'm daliodd lawer gwaith,
Yn nyfnder loes, tan faich a chroes,
A gorthrymderau maith;
Yn un heb nerth ar greigiau serth,
  Ce's fyw trwy werth y gwaed;
A'r gras a fu, yn rhad o'm tu,
Mae etto'n gry' i fwrw llu,
  Gelynion tan fy nhraed.

2 Paham yr ofnaf lu?
Mae cadarn fraich o'm tu;
Y rhyfel sydd, o ddydd i ddydd,
Yn eiddo'm Prynydd cu:
Wel, ato Ef, am nodded gref,
  Mi goda'm llef a'm cri;
Yn llesg a chlaf, taer alw wnaf;
Nerth ganddo caf, sef Duw, fy Naf,
  Ein Tad anwylaf ni. T. J.

## HYMN CCCCVI. (6. 8. 6.)

*Udgorn y farn ddiweddaf.*

1 YR udgorn mawr a gân,
  I alw mawr a mân;

## HYMN CCCCXI. (6. 4. 8. 7.)

*" Tywysog ein hiachawdwriaeth."*

1 PAM'R ofna'm henaid lu, mae'm cadarn Iesu cu,
Mewn nefol wlad, ger bron y Tad o'm tu;
Ni cheisiai'n Dywysog neb ond ef,
Mae'n gadarn graig a noddfa gref,
Mae'n wastad dros ei bobl, yn eiriol yn y nef.

2 Fy Nharian a fy Nhwr, a'm sylfaen gadarn siwr,
Fy noddfa a'm nerth, mawr ydyw gwerth y gwr?
A bryna o'i gryd i bren y groes,
Rifedi'r ser trwy lawer loes,
Dyrchafu'r Brenin Silo, heb flino fyddo f'oes.

3 Hwn ydyw'r un a ddaeth, i fynu o Edom gaeth,
O Bosra dîr, gorchfygu'n wir a wnaeth;
Yr hwn fu farw ar y pren,
Balmantodd ffordd i'r nefoedd wen,
Yr hwn fu'n dyoddef dirmyg, fo'r Meddyg fyth Amen.
G.

## HYMN CCCCXII. (6. 4. 8. 7.)

*Llwyddiant yr Efengyl, a gorfoledd y gwaredigion.*

1 CYFRANWR rhoddwr hael, wrth raid i'r gweiniaid gwael,
Yw'r Arglwydd Ior, o'i drysor mawr didraul;
Tad i amddifaid ryw, a Barnwr gweddwon union yw,
Cynnorthwy rhai tlodion yn dirion ydyw Duw.

2 Mae llais y durtur fwyn, ei chân y'nghyd a'i chwyn,
Yn seinio'n bêr, nes ennill llawer llwyn; [ddaeth,
Wele'r gauaf heibio'r aeth, ac ar y ddaear blodau
Mae'r adar yn ymbyncio eu mawl, nid cwyno caeth.

3 Fe dderfydd dwyn y groes, yn lân â phob rhyw loes,
Cawn ado'r byd, a'r adfyd, ber yw'r oes:
Bydd Sïon wych a'i siriol wawr, 'nol codi o'r llwch a gado'r llawr,
Ar ddysglaer wedd ei Phrïod, yn moli'r Duwdod mawr.
G.

## HYMN CCCCXIII. (6. 4. 8. 7.)

*"Gras am ras."*

1 DRWY aberth Calfari wynebodd atom ni,
Fel afon fawr, ei ras i'r llawr fel lli';
Daioni ar ddaioni ddaeth i'r euog a'r anghenog caeth,
Trwy daro'r graig nes holltodd, y llifodd mêl a llaeth.

2 Maddeuant yma sydd, a chyfiawnâd trwy ffydd,
A hedd y'nghyd; I fywyd gras e fydd,
Yn llifo fel rhyw afon gref, o ganol ei orseddfainc ef,
Bydd pechaduriaid duon, yn wynion yn y nef.

3 Rhyfeddol iawn fydd cân, llu o ben'twynion tân,
Am Galfari; oll gwedi'u golchi'n lân;
Pan ddelo'r caethion oll y'nghyd, yn rhydd o bedwar cwr y byd,
Yn Salem bydd gorfoledd—diddiwedd hedd o hyd.

4 Gogoniant hon a'i Phen a leinw'r nefoedd wen;
Bydd troion gras, uwch daear lâs heb lèn:
Cyfiawnder a thrugaredd lân, yn achub pentewynion tân;
Am Geidwad doeth rhyfeddol, bydd eu tragwyddol gân.

R. J.

## HYMN CCCCXIV. (12. 8.)

*Cwmwl Tystion.*

1 MAE lluoedd maith y'mlaen, 'nawr o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maen', oll wedi cario'r dydd,
I'r làn, i'r làn, diangasant hwy,
*Yn ol eu traed y sengwn mwy.*

2 Gadawn y byd yn ol, y byd y cawsom wae,
Y byd ag sydd bob dydd, yn ceisio'n llwfrhau;
Ni welwn wlad rhwng ser y nef,
Sy fil o weithiau'n well nag ef.

3 A fôdd 'tifeddion gras, yn nyfnder môr i lawr?
Unwaith a ddaeth i maes, o'r dwfwn gystudd mawr;
Na wna, na wna, ni 'ddown i'r làn,
I dir y bywyd yn y man.

4 Cawn wel'd yr addfwyn Oen, fu farw ar y bryn,
Yn medi ffrwyth ei boen, yn hyfryd y pryd hyn;
Myrddiynau heb rif yn canu y'nghyd,
I'r hwn fu farw dros y byd. W. W.

## HYMN CCCCXV. (12. 8.)

*Hyder y Saint.*

1 FE gân 'tifeddion gras, yn beraidd maes o law;
Wrth weled boddi'r Aipht, a hwythau'r ochr draw:
Fe enaid 'hêd i ben y bryn,
I wel'd y concwest rhyfedd hyn.

2 Wel deuwn yn y blaen, fe gwympodd ofnau mawr,
Ar y gelynion hy, oedd am ein cael ni lawr:
Fe ga'w'd y dydd, mi glywa'r nen
Yn canu'r concwest, ar y pren.

3 'N awr mae cymylau'r nos, barhaodd amser mawr,
Yn agor ac yn ffoi, o flaen yr hyfryd wawr;
Fe gwyd yr haul, cawn wel'd yn glir,
Ein hetifeddiaeth cyn bo hir.

4 A heibio'r dywyll nos, fe ffy cymylau'r nen,
Fe ddaw'r addewid wir, a'i geiriau'n bur i ben;
Ceir gwel'd ceir gwel'd yr hyfryd dir,
Ar fyr o dro yn oleu clir. W. W.

## HYMN CCCCXVI. (12. 8.)

*Gwroldeb milwyr Iesu.*

1 MAE'R Brenin yn y blaen, 'rym ninau oll yn hy;
Ni saif na dwr na than, o flaen fath arfog lu;
Ni awn, ni awn, dan ganu i'r làn,
Cawn wel'd ein concwest yn y man.

2 Ni welir un yn llesg, yn myddin Brenin nef,
Can's derbyn maent o hyd, o'i nerthoedd hyfryd ef;
Ni gawn, ni gawn y gloyw wîn,
Melys ei ryw sancteiddiol rîn.

3 Er maint yw lled y dwr, er maint yw grym y dòn,
Ac er i'r dymhestl gref, i guro dan fy mron:
'Dyw tònau maith, 'dyw'r dymhestl ddim,
I nerth yr hwn sy'n Briod im'.

4 Er bod saethyddion lu, a rhwydau fwy na mwy,
'Rhyd llwybrau Salem fry, a dyrys iawn y'nt hwy:
Fe dŷr y rhwyd, fe dry bob saeth,
Oddiwrth ei saint nid oes ei fath. W. W.

## HYMN CCCCXVII. (12. 8.)

*Concwest yr Efengyl.*

1 MAE'R faner fawr y'mlaen, ei Efengyl Ef yw hon,
Mae uffern lawn o dân, yn crynu'n awr o'i bron;
Hi gwymp, hi gwymp, er maint ei grym,
O flaen fy Iesu 'dyw hi ddim.

2 Caned a welodd wawr, yn codi o'r t'wyllwch du,
Caned a brofodd flas, grawn-sypiau'r Ganaan fry:
Ni ddown, ni ddown, i Sïon fryn,
Er maint yr holl anialwch hyn.

3 Dystewch elynion mwy, rhowch le tua phen fy nhaith;
Chwi roesoch i mi glyw', disymwth lawer gwaith:
Y'mlaen, y'mlaen, mae'm trysor drud,
*Tu hwnt i* derfyn eitha'r byd.

4 A thyna'r boreu ddydd, caf finau seinio cân,
'Nol fy nghaethiwed maith, am waredigaeth lân;
O foreu ddydd! pa bryd y daw?
F' anwylyd tyred maes o law. W. W.

## HYMN CCCCXVIII. (12. 8.)

*"Awn a meddiannwn y wlad."*

1 WEL bellach tyr'd yn mlaen, nag ofna f'enaid mwy,
Llai grym sy'n uffern dân, na dwyfol farwol glwy'—
Mae'r gwaed, mae'r gwaed, a gollodd ef,
Yn uwch ei bris o fewn i'r nef.

2 Mae'r orsedd wen yn rhydd, aeth Magdalen yn mlaen,
Manasse hefyd sydd, yn canu'r nefol gân,
Mi glywa'r swn, swn peraidd yw,
Am ddwyfol nefol waed fy Nuw.

3 O fewn Caersalem lân, mi wela fyrdd o saint,
Wedi diengu 'mlaen, tros fryniau mawr eu maint,
Dilynaf ol y dyrfa hon,
Er dwr, a thân, a llif, a thòn.

4 Mi wela draw o bell, baradwys hardd ei gwedd,
A phrenau lawer gwell, yn perarogli hedd;
O hyfryd wlad! tu draw bob gwae,
Gwynfyd ga'i heddyw dy fwynhau. W. W.

## HYMN CCCCXIX. (12. 8.)

*Haeddiant Crist.*

1 FY Iesu yw fy Nuw, fy noddfa gadarn gref,
Ni fedd fy enaid gwan, ddim arall dan y nef:
Mae ef ei hun a'i angeu drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd.

2 O ffynnon fawr ei rhin, o ddwyfol win a llaeth,
Sydd yn ei haeddiant ef, 'does yn y nef ei bath;
Dowch bawb y'nghyd, gwelwch y fraint,
A ga'dd y lleiaf un o'r saint.

3 Wel ymgysura'n awr, fy enaid eiddil gwan,
Sy'n cwrddyd bob yr awr, a rhwystrau yn mhob man;
Mae Duw o'm tu, caf cyn bo hir,
I wel'd fy meiau yn colli tir.

4 Ni chollwyd gwaed y groes, erioed am ddim i'r llawr,
'Ddyoddefwyd angeu loes, heb ryw ddybenion mawr;
A thyna oedd ei amcan ef,
I'm dwyn o'r byd i deyrnas nef. W. W.

## HYMN CCCCXX. (12. 8.)

*"Gair yr addewid."*

1 MI bwysaf ar ei air, a deued oll yn groes,
Fy noddfa unig yw, tan eithaf tywyll nos;
Fe wawria'r dydd, pob tro îs nen,
Ddaw ag addewid nef i ben.

2 Ar ei addewid ef, sydd fwy na geiriau dyn,
Er holl gymylau'r nef, gorphwysaf fi fy hun;
Fe'm deil i'r lan, a doed a ddel,
A ddaeth o'i enau sydd dan sel.

3 Y gair melysa' erioed, y cryfaf air ei rym,
Mi a'i hail adroddaf ef, fod Duw yn Briod im':
Mae hyfryd swn a sylwedd hwn,
Yn tynu ffwrdd fy maich a mhwn.

4 Ar fyr mi fyddaf iach, ni chaf i glywed mwy
Llais y gorthrymwyr câs, eu gwawd, na'u dirmyg hwy;
'Does swn na chri o fewn y wlad
*Lle mae fy* Mhriod a fy Nhad. W. W.

## HYMN CCCCXXI. (12. 8.)

*Dysgwyliad y Cristion.*

1 NI phery ddim yn hir, y ddu dymhestlog nos,
Ni phwyntiwyd oesoedd maith, i neb i gario'r groes:
Mae'r hyfryd wawr, sy'n g'leuo draw,
Yn d'weyd fod bore braf gerllaw.

2 Mi wela'r cwmwl du, yn awr y'mron a ffoi,
A gwynt y gogledd sy, ychydig bach yn troi;
'Nol tymhestl fawr, daw yn y man,
Ryw hyfryd hîn ar f'enaid gwan.

3 O na allwn roddi 'mhwys, ar dy ardderchog law,
A gado i gystudd ddod, oddiyma ac o draw:
A byw tan nawdd y dwyfol waed,
Y'ngolwg hyfryd dŷ fy Nhad.

4 Mae'm siwrna'i yn y blaen, 'does diwedd ar fy nhaith,
Nes landio mewn yn lân i dragwyddoldeb maith;
Yr ochr draw fy nghartref yw
O fewn y wlad lle mae fy Nuw. W. W.

## HYMN CCCCXXII. (12. 8.)

*Cyflawnder yr Iachawdwriaeth.*

1 DYSGLEIRIA fore wawr, 'nol nos o faith barhad,
Datguddia i mi yn awr, ryw ran o'm hyfryd wlad;
Lle rhedo cariad pur i maes,
Fel mor di drai dros feusydd gras.

2 O ffynnon fawr o hedd, o anchwiliadwy fôr,
Sy'n cynnwys ynddo ei hun, ryw annherfynol 'stor,
Ti bia'r clod, wel cymer e',
Trwy'r ddaear, uffern fawr, a'r ne'.

3 Noddfa pechadur trist, dan bob drylliedig friw,
A phwys euogrwydd llym, yn unig yw fy Nuw;
'Does enw i'w gael, o dan y nef,
Yn unig ond ei enw ef

4 Pan ddelo'r hyfryd ddydd, i mi gael gwel'd ei wedd,
Ac yfed ffrydiau pur, o'i annherfynol hedd:
'Mhlith lluoedd maith cwmpeini'r nen,
Mi gana'r cariad fu ar y pren. W. W.

## HYMN CCCCXXIII. (12. 8.)

*"Teilwng yw yr Oen."*

1 YMGRYMED pawb i lawr, i enw'r addfwyn Oen,
Yr enw mwya' mawr, erioed a glywyd sôn:
Y clod, y mawl, y parch, a'r bri,
Fo byth i enw'n Harglwydd ni.

2 O nefol addfwyn Oen, sy'n llawer gwell na'r byd,
Mae lluoedd maith y nef, yn rhedeg arno'u bryd:
Mae'th ddawn, a'th ras, a'th gariad drud,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r byd.

3 Dyoddefodd hoelion dur, fe gollodd ddwyfol waed,
Gwnaeth ni'n offeiriaid pur, 'was'naethu ei anwyl Dad;
Breninoedd y'm o ddwyfol ryw,
Perthynas agos iawn i'n Duw.

4 Cawn goronau cyn bo hir, oll fel ei goron ef,
A gwel'd ei ogoniant pur, yn ddysglaer yn y nef;
A seinio ei glod, a'i ryfedd waith,
I eithaf tragwyddoldeb maith.

5 Llawn Haleluia mwy, i Frenin dae'r a ne',
Ddyoddefodd farwol glwy' yn wirion yn fy lle;
O ddedwydd awr, o ddedwydd loes,
Bu'm Duw yn hongian ar y groes. W. W.

## HYMN CCCCXXIV. (12. 8.)

*"Ffordd newydd a bywiol."*

1 WEL dacw'r ffordd yn rhydd, agorwyd hi o bob tu!
O ddyfnder daear las i uchder nefoedd fry;
O dring, O dring, fy enaid mwy!
*Mae nerth* i'w gael mewn dwyfol glwy'.

2 Wel bellach ffown i maes, edrychwn yn y blaen,
Mae golwg hyll yn ol, Sodoma sydd ar dân;
Yn mlaen, yn mlaen, i'r creigydd byw,
Y Söar fach lle mae fy Nuw.

3 Yn y mynyddau hyn, ca'i ro'i fy mhen i lawr,
A gorphwys byth yn iach, oddiwrth y 'storom fawr;
N'all dwr na thàn, i gloddio'm sail,
Er curo arna'i bob yn ail.

4 Mae'r ffordd yn awr yn rhydd, o'r ddae'r i entrych ne',
Er pan y daeth fy Nuw, i ddyoddef yn fy lle;
Mae'r nef, mae'r nef, o led y pen,
Can's hi ddyoddefodd ar y pren. W. W.

## HYMN CCCCXXV. (12. 8.)

*Sicrwydd gobaith.*

1 PA'M'R ofna'm henaid gwan, wrth wel'd aneirif lu
Yn ceisio ammeu'm rhan, a'm hawl i'r Iesu cu?
Gwn mae dilyth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn pàra byth.

2 P'odd gall y Bugail mawr anghofio ei anwyl ŵyn?
Pan daeth o'r nef i lawr i farw er eu mwyn:
Gwn mae dilyth, &c.

3 Os gad fy anwyl Dad fi farw ar fy nhaith,
Beth ddaw o'r arfaeth rad, yn nhragwyddoldeb maith?
Gwn mae dilyth, &c.

4 A ddiffodd cariad rhad? ai ofer geiriau Duw?
A gollir rhinwedd gwaed, ac angeu Iesu gwiw?
Gwn mae dilyth, &c.

5 Mi greda' etto'n hy', caf fyn'd i ben fy nhaith;
Fy nhawel gartre' fry, o'm poen a'm llafur waith:
Gwn mae dilyth, &c. W. W.

## HYMN CCCCXXVI. (12. 8.)

*Rhyfeddodau'r Iachawdwriaeth.*

1 O'R holl gadwedig lu, sy'n teithio i Salem lân,
Myfi yw'r mwya' du, ar bawb yn dwyn y blaen:
Tragwyddol ras, na buasai'm nyth,
Mewn cadwyn byth yn uffern dân.

2 Er hyn nid ofnaf mwy, er cynddrwg yw fy ngwedd,
Ca'dd bechod farwol glwy', gan Iesu glân a'i gledd:
Mae'r ddraig yn friw dan draed fy Nghrist,
Mae i'm henaid trist dragwyddol wledd.

3 Efe yw'm Meichai mawr, o flaen gorsedd-fainc Ion,
Sy'n eiriol bob yr awr, gan gofio ei ddirfawr boen;
Pa'm'r ofnaf mwy? mae'n llifo 'maes,
I orsedd gras bur waed yr Oen.

4 Mae briw y bicell fain, a thyllau'r hoelion dur,
Ac ol y goron ddrain, a chwysau'r groes a'i chur,
Yn dadleu nerth cyfiawnder Naf,
Dros f'enaid claf am heddwch pur. W. W.

## HYMN CCCCXXVII. (12. 8.)

*Dedwyddwch y saint gwedi marw.*

1 DAW diwedd ar fy nhaith, a'm pererindod trist,
Gorphena'm llafur waith, caf orphwys gyda'm Crist:
O fewn ei gol y gwnaf fy nyth,
'Ddychwelaf byth i'r byd yn ol.

2 Caf wel'd aneirif lu, o bererinion glân,
O fewn Caersalem fry, a aethant yno o'm blaen,
O ddeutu'r fainc yn moli'n hy',
*Fy Iesu cu* â pheraidd gainc.

3 Caf wel'd fy anwyl Dad, f'arweiniodd ar fy nhaith,
A'm carodd i yn rhad, o drag'wyddoldeb maith:
A'r anwyl Oen fu drosof fi,
Ar Galfari mewn dirfawr boen.

4 Wel dyma'r hyfryd wlad, paradwys nefol wiw,
A thŷ fy anwyl Dad, lle byddaf byth yn byw:
Pa'm oedaf fyn'd? par'towyd fy lle,
O fewn i'r ne' gan f' anwyl ffrynd. W. W

## HYMN CCCCXXVIII. (12. 8.)

*Adgyfodiad ac eiriolaeth Crist.*

1 CYFODODD Iesu'n wir, meddiannodd orsedd nef,
Trysorau'r nefol dir, sydd yn ei feddiant nef:
Mae'n Llywydd cryf ar nef a llawr,
Ar angeu a'r bedd, ac uffern fawr.

2 Cynhesodd, do, â'i ddawn, oer wely llaith y bedd,
Gan ei bereiddio'n llawn, i etifeddion hedd:
Mae heddyw'n fyw, uwch poen a gwae,
Awn ar ei ol i'r man lle mae.

3 Mae'n hynaf Frawd i ni, yn eiriol ar ein rhan,
Yn darpar uchel fri, i bawb o'i deulu gwan:
Awn ar ei ol i wely'r bedd,
Cawn godi'n iach mewn hylawn hedd.

4 Mae ar ddeheulaw'r Tad, yn eiriol gyda grym,
Ar ddydd yr ing a'r gâd, yn mhoethder rhyfel llym:
Ni chyll, ni chyll, llu Sïon wan:
Mae lluoedd cadarn ar ei rhan. T. J.

## HYMN CCCCXXIX. (12. 8.)

*Eiriolaeth a gras Crist.*

1 TAN bwys fy maich a'm cur, fy ngweddi aed i'r nef,
Y'nghyd a mygdarth pur, ei lân eiriolaeth Ef:
Gwrandewir cri'r anghenus, gwan;
Mae Iesu'n eiriol ar ei ran.

4 Gorphwysfa ynddo sydd, i'r truan ar ei daith;
A than ei gysgod ef, oe's orphwys lawer gwaith,
O! f'enaid, gwna d'orphwysfa mwy,
A'th noddfa yn ei farwol glwy'. R. J.

## HYMN CCCCXXXIV. (12. 8.)

*Y gair "Gorphenwyd."*

1 GORPHENWYD, dyma'r gair a bair i f'enaid gwan,
Obeithio 'nawr, drwy ffydd, y dof ryw ddydd i'r lan;
Agorwyd ffordd ar Galfari,
I'r cyssegr sancteiddiolaf fry.

2 Gorphenwyd, ni bydd mwy ar allor aur na phres,
Un aberth glân na gwaed, na dwr na thân, na gwres;
Gwnaed iawn anfeidrol ar y groes,
Fe gofir am ei angeu loes.

3 Gorphenwyd, dyma'r dydd, na bydd gwahanlen mwy,
I attal caeth na rhydd, i wel'd ei ddwyfol glwy';
Mae iachawdwriaeth ynddo'n rhad
I bawb a ddel i gael iachad.

4 Gorphenwyd, dyma'r dydd, mae'r ddraig a'i phen yn friw; [fyw;
Er rhwymo'r Meichai'n gaeth, fe ddaeth o'r bedd yn
O f'enaid ofnus, cofia, cân
Byth am ei fuddugoliaeth lân. R. J.

## HYMN CCCCXXXV. (12. 8.)

*"Pwy yw hon?"*

1 PWY ydyw hon yn wir, a welir fel y wawr?
Fel lleuad teg yw hi, mae iddi enw mawr;
Pur fel yr haul, ei bath ni bu,
Ofnadwy fel banerog lu.

## HYMN CCCCXXXIX. (12. 8.)

*Blwyddyn y Jubili.*

1 ER myned oll yn gaeth, a chyfeiliorni'n bell;
Trwy Iesu Grist fe ddaeth, i'n etifeddiaeth well:
Gwnaeth iawn i'w Dad a hedd i ni,
Trwy waed ei groes ar Galfari.

2 Chwi garcharorion prudd, dechreuwch lawenhau:
Fe wawriodd arnom ddydd; daeth Iesu i'n rhyddhau:
Trwy fuddugoliaeth Calfari,
Fe ddaeth yr hyfryd Jubili.

3 I gaethion Babilon, cyhoeddir llawn rhyddhad;
Dychwelwch adre'n llon, chwi waredigol had:
Ennillodd Crist ein rhyddid ni,
Yn awr daeth Blwyddyn Jubili.

4 Aed sain efengyl gras, o gwmpas daear lawr:
Doed pawb i brofi blas, yr iachawdwriaeth fawr;
I Sïon wiw doed torf ddi ri',
Wrth sain pêr udgorn Jubili. P. J.

## HYMN CCCCXL. (12. 8.)

*"Bod gyda Christ."*

1 PWY gwyna iddynt hwy, y teulu dedwydd llon,
Sydd wedi myned trwy, holl ddrygau'r ddaear hon?
O swn y byd yn ddigon pell,
"Bod gyda Christ sydd lawer gwell."

2 Maent wedi dianc draw, uwchlaw pob gofid mwy,
A chystudd byth ni ddaw, i'r un o honynt hwy;
Goruwch blinderau maent yn mhell,
"Bod gyda Christ sydd lawer gwell."

3 Ni welir mo'nynt mwy, yn gruddfan tan y groes,
Yn cwyno gan un clwy, na dyoddef unrhyw loes;
Gadawsant oll ar ol yn mhell,
"Bod gyda Christ sydd lawer gwell."

4 Ni chant na phla, na phoen, na chri, na cherydd
chwaith,
Yn nghwmni'r addfwyn Oen, i dragwyddoldeb maith;
Gorphwysant draw yn mhell, yn mhell,
"Bod gyda Christ sydd lawer gwell."

5 Mewn gwlad o fythol hedd, a gwynfyd perffaith llawn,
Yn hyfryd llon eu gwedd, maent heddyw'n ddedwydd
iawn;
Pob galar ffodd yn eithaf pell,
"Bod gyda Christ sydd lawer gwell." J. R. LL—LL.

## HYMN CCCCXLI. (6. 4.)

*Haeddiant croes Crist.*

1 IACHAWDWR dynolryw,
Tydi yn unig yw, fy Mugail da:
Mae angeu'r groes yn llawn,
O bob rhinweddol ddawn,
A ffrwythau melys iawn, rhai'n a'm iachâ.

2 Arosaf ddydd a nos,
Byth bellach tan dy groes, i'th lon fwynhau:
Mi wn mai'r taliad hyn,
Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm càna'i oll yn wyn, oddiwrth fy mai.

3 O ffynnon werthfawr rad,
Yr afon fawr o waed, ar Galfari;
Rhed yma lawr i'r byd,
A chudd fy meiau i gyd,
Yn nyfnder cariad drud, dy haeddiant cu.

4 Gwna f'enaid bach y'nglyn,
Duw wrthyt ti dy hun, gael dy fwynhau;
Ac yna gallaf fyw,
Tan gystudd o bob rhyw,
Mewn llawn dawelwch gwiw, byth i barhau.
W. W.

## HYMN CCCCXLII. (6. 4.)

*Y wledd dragwyddol.*

1 O TYRED awdwr hedd,
Rho i'm brawf o'th hedd, dragwyddol rad:
Does yma ddim ond trai,
Cystuddiau, poen, a gwae,
I'r diwedd yn parhau, mewn anial wlad.

2 Mae torf aneirif fawr,
Yn ddysglaer fel y wawr, 'nawr yn y nef;
Trwy ganol gwawd a llid,
A gwrth'nebiadau'r byd,
Ac angeu glas y'nghyd, a'i carodd ef.

3 Yn gwisgo gynau gwyn,
Pan gwelir saint am hyn, dydd sy'n neshau:
Caniadau am ei glwy,
Fydd eu caniadau hwy,
A'r rhei'ny fyddant mwy, byth i barhau.

4 O tyred awdwr hedd,
A chyfod ni o'r bedd, y pydew prudd:
Ein henaid gruddfan mae,
Am gael ei wir iachau,
O dere dere yn glau, rho ni yn rhydd. W. W.

## HYMN CCCCXLIII. (6. 4.)

*Ymddiried yn Nuw.*

1 GWNES addunedau fil,
I gadw'r llwybr cul, ond methu rwy';
Preswylydd mawr y berth,
Chwanego etto'm nerth,
I ddringo'r creigiau serth, heb flino mwy. G.

2 Mae pechod o bob gradd,
Yn fawr am gael fy lladd, a minau'n wan;
O estyn fraich i maes,
Dangos dy effeithiol ras,
O'r tiroedd anial cras, dwg fi i'r lan.

3 Ond atat mae fy nghri,
'Does unig ond tydi, all fy nglanhau;
Mwy haeddiant sy'n dy waed,
Na'r pechod mwya' gaed,
A chryfach cariad rhad, na grym fy mai.

4 Cryfach addewid Duw,
Na'r pechod gwaetha ei ryw, ni saif e ddim;
'Dyw natur gadarn gref,
Ond dim i dân y nef,
Mae gair o'i enau ef, yn fwy ei rym. W. W.

## HYMN CCCCXLIV. (6. 4.)

*Hiraeth am oruchafiaeth.*

1 O GWAWRIA foreu-ddydd,
Pan caffwy' fyn'd yn rhydd, o'm carchar caeth,
Pan gwympo'r muriau pres,
A'r dorau sydd yn rhes,
A minau fyn'd yn nes, i ben fy nhaith.

2 Un golwg ar dy wedd,
A'm cwyd i'r lan o'r bedd, i'r goleu clir;
I deithio yn y blaen,
Trwy ganol dwr a thân,
Er gelynion fawr a mân, i'r sanctaidd dir.

3 Pryd hyny mi âf trwy,
Elynion mwy na mwy, o ddedwydd ddydd!
Mae meddwl am y wawr,
A'r Jubil hyfryd fawr,
Yn pery i mi'n awr, bron fyn'd yn rhydd.

4 'Does yma ddim i'w gael,
Ond rhyw bleserau gwael, na thal 'mwynhau
Mae'm hysbryd mewn rhyw gur,
Am fyned cyn bo hir,
*I'r* man mae gwynfyd pur, byth i barhau. W.W.

## HYMN CCCCXLV. (6. 4.)

*Erfyniad am adnewyddiad.*

1 O TYRED Arglwydd mawr,
Dyhidla o'r nef i lawr, gawodydd pur,
Fel byddo i'r egin grawn,
Foreu-ddydd a phrydnawn,
I darddu'n beraidd iawn, o'r anial dir.

2 Mae peraroglau'th ras,
Yn taenu o gylch i maes, awelon hedd;
Estroniaid sydd yn dod,
O'r pellder eitha' 'rioed,
I gwympo wrth dy droed, a gwel'd dy wedd.

3 Mae tegwch dy wyneb-pryd,
Yn maeddu oll i gyd, sy ar ddaear las;
Mae pob rhyw nefol ddawn,
Oll yno yn gryno llawn,
Yn tarddu yn hyfryd iawn, o'th glwyfau maes.

4 Mewn nyfnder dwr a thân,
Calfaria fydd fy nghân, Calfaria mwy,
Y bryn ordeiniodd Duw,
Yn nhragwyddoldeb yw,
I godi'r marw yn fyw, trwy farwol glwy. W.W.

## HYMN CCCCXLVI. (6. 4.)

*Y Ganaan nefol.*

1 MAE'R Ganaan hyfryd draw
Yn dangos fel gerllaw, yn ngoleu'r ne',
Dowch bellach tua'r wlad,
Gartrefle bur ein Tad,
Na flined dim o'n traed, nes myn'd i'r ne'.

2 Grawn-sypiau yno sydd
Yn hongian nos a dydd, ar winwydd pur,
I ddisychedu y rhai,
Fu yn gruddfan tan eu gwae,
O gystudd a phob trai, mewn anial dir.

3 Rhyw gariad fel y môr,
Anfeidrol berffaith 'stor, heb derfyn mwy,
Sy'n llifo'n loyw laes,
O tan y fainc i maes,
I etifeddion gras, eu bywyd hwy.

4 O heddwch pur y ne'!
'Does neb a'i 'nebydd E', tu yma i'r bedd!
Ddeallodd neb erioed,
Sy'n trigo îs y rhod,
Y pleser sydd yn bod, mewn nefol hedd.

5 Ond gweled 'rym y wlad,
A dedwydd dŷ ein Tad, dros fryniau pell:
Ardaloedd lle y mae,
Ffynnonau'n dyfrhau,
Llawenydd yn ddidrai, paradwys well. W. W.

## HYMN CCCCXLVII. (6. 4.)

*Goruchafiaeth trwy Grist.*

1 WEL f'enaid dos yn mlaen,
Heb ofni dwr na than, mae genyt Dduw;
'Dyw'r gelyn mwya' ei rym,
I'w allu anfeidrol ddim,
Fe goncra'm pechod llym, ei elyn yw.

2 Mae gwaed ei groes yn fwy
Na'u natur danbaid hwy, na'u nifer maith,
Fe faddeu fawr a mân,
Fe'm gylch yn hyfryd lân,
Fe'm dwg i yn y blaen, i ben fy nhaith.

3 Ac er nad wyf ond gwan,
Fel hyn mi safa' i'r lan, heb haeddu dim:
Mae nerth dy fraich yn fwy,
Na'u holl fyddinoedd hwy,
Sy'n rhoddi i mi glwy', er maint eu grym.

4 Fy meiau fan a mawr,
Sydd raid eu cael i lawr, cyn byddo hir;
Fe fyn cyfreithiau'r ne',
I dynu'r llygad de',
A thori'r fraich o'i lle, ei air sydd wir.

5 Ac yno mi af trwy,
Gystuddiau fwy na mwy, ond fy iachâu;
Mi ddringa'r creigydd fry,
Mi nofia'r afon ddu,
Mi gonc'ra elynion lu heb lwfrhau. W. W.

## HYMN CCCCXLVIII. (6. 4.)

*Iesu, Brenin y Gogoniant.*

1 FY Iesu yw fy Nuw,
Fy Mrawd a'm Priod yw, ffyddlonaf gwir;
Fy enaid arwain wnaeth,
O'r gwledydd tywyll caeth,
I wlad o fêl a llaeth, Paradwys bur.

2 Efe aeth o fy mlaen,
Trwy ddyfnder dwr a thân, i'r hyfryd wlad:
Mae'n eiriol yno'n awr,
O flaen yr orsedd fawr,
Yn maddeu fach a mawr, o'm beiau'n rhad.

3 Mae lluoedd maith y ne'
Yn cwympo iddo fe, anfeidrol Dduw;
Yn canu t'lynau clir,
Mewn gwyl dragwyddol bur,
Am waredigaeth wir, i ddynolryw.

4 Bydd canu nefol drud,
Yn llanw'r nef i gyd, byth bythoedd mwy;
Seraphiaid tanllyd lu,
Cerubiaid cywir cu,
A saint ffyddlonaf hy', blith dra-phlith trwy. W. W.

## HYMN CCCCXLIX. (6. 4.)

*Yr achos Cenadol.*

1 O PRYNWR mawr y byd,
Tyr'd bellach mae'n iawn bryd, mae yn brydnawn;
Gad i ni wel'd dy ras,
Ar frys yn tori maes,
Tros wyneb daear las, yn genllif llawn.

2 Mae gwyliau'r hyfryd wlad,
Gwledd iachawdwriaeth rad, efengyl gras,
A'i hadsain ddwyfol ddrud,
Yn gydsain hardd y'nghyd,
'Nawr hyd eithafoedd byd, yn swnio maes.

3 Fe glywa'r Indiaid draw,
'R efengyl maes o law, yn eitha' ei grym;
Daw cyrau pella'r byd,
Yn ddu a gwyn y'nghyd,
I'w golchi yma 'gyd, nid oedant ddim.

4 Mae doniau f'Arglwydd mawr,
Yn llifo oll i lawr, fel môr didrai;
Tros dir Immanuel,
Yn hyfryd laeth a mel,
O sicrwydd pur a s[illegible]th i barhau. W.W.

## HYMN CCCCL. (6. 4.)

*"Cyrchu at y nod."*

1 WEL, bellach awn yn mlaen,
Nac ofnwn ddwr na thân, ni bia'r dydd;
Ein Brenin cadarn cry',
Yn mlaenaf un o'r llu,
Yn tori rhwystrau sy, mae'r ffordd yn rhydd.

2 O'r diwedd daeth yr awr,
Yn nhragwyddoldeb mawr, arfaethwyd Ef;
Bu farw Brenin nen,
O gariad ar y pren,
*Agorwyd* led y pen, holl byrth y nef.

3 Mae heddyw yn y nef,
Fyrddiynau gydag ef, yn canu ei glod;
Dewch dringwn tua'r lan,
Cawn feddu yn y man,
Yr ardal ddaeth i'n rhan, hyfryda' 'rioed.

4 Ni gerddwn tua'r wlad,
Bwrcasodd ddwyfol waed, y mae gerllaw;
Fe ledia'r golofn dan,
Trwy foroedd maith ni 'mlaen,
Ac ni gawn seinio cân, yr ochr draw. W. W.

## HYMN CCCCLI. (6. 4.)

*Ffrwythau'r Prynedigaeth.*

1 CAF weled cyn bo hir,
Bellenig hyfryd dir, Immanuel;
Yr ardal ddwyfol fras,
O beraidd hyfryd ras,
Sy'n llifo tros y maes, o laeth a mel.

2 Torf o addewidion llawn,
O ddyfroedd gloyw iawn, sy ar dori maes;
Fe red yr afon hyn,
Trwy ganol Sïon fryn,
Hi gàna fyrdd yn wyn, mewn nefol ras.

3 Yn awr mae ffrwythau'r nef,
Gwerth ei ddyoddefaint ef, hyfryd gerllaw;
Grawn-sypiau dwyfol gwir,
Gwell nag o Escol dir,
Sy'n dod ar drostan pur, o'r Ganaan draw.

4 Mae'n ddiau fod y wlad,
Dragwyddol ei pharhad, o ffrwythau'n llawn;
Mae'n tyfu ar groesbren îr
Almonau hyfryd pur,
Ffrwyth paradwysaidd dir, pereiddiaf rawn.
W.

## HYMN CCCCLII. (6. 4.)

***Rhinweddau haeddiant Crist.***

1 AGORODD Iesu'n wir,
Y ffordd i'r nefol dir, mae heddyw'n rhydd;
Maddeuant yn ei waed,
A chymmod llawn a gaed,
Pob gelyn ro'ir tan draed, 'tifeddion ffydd.

2 Mae heddyw afon gras,
Yn llifo'r anial cras, yn ffrydiau pur;
Doed aflan euog rai,
Sy am gael maddeu eu bai,
I'r dyfroedd sy heb drai, ei farwol gur.

3 Ei angeu ar y pren,
Agorodd ddrysau'r nen, fe'n tyn o'n gwae;
O rheded arno ein bryd,
A rhedwn ato i gyd,
Nes cyrhaedd uwch y byd, i'r man lle mae. T. J.

## HYMN CCCCLIII. (6. 4.)

*Yr achos Cenadol.*

1 NI glywsom Arglwydd Ior,
Am dy ryfeddol 'stor, a'th gyfoeth llawn:
Wyt lawn o ras didrai,
I olchi ymaith fai,
Yr euog aflan rai, datguddia'th ddawn.

2 Aed, [illegible]hawdwriaeth gras,
Tros wyneb daear las, trwy gyhoedd lef;
Aed nerthoedd gyda'r sain,
Am ing a choron ddrain,
Oen Duw a'r bicell fain, a'i gwanodd Ef.

3 O myn ogonedd pur,
Trwy loes a marwol gur, y nefol Oen;
Cyfammod sy'n ddiffael,
'Nol hwn rhaid iddo gael,
Llawn gnwd o'i lafur hael, ei ing a'i boen. T. J.

## HYMN CCCCLIV. (6. 4.)

*Gwledd y saint.*

1 MAE heddyw felys wledd,
Mewn prawf o hyfryd hedd, trwy Grist a'i gur,
'Dyw hyn ond codiad gwawr,
Caiff plant y cystudd mawr,
Llawn wleddoedd uwch y llawr, mewn mwyniant pur.

2 Ar aur-delynau'r nef,
Hwy a'i moliannent Ef, heb ball, heb boen;
Yr anthem felys faith,
Fydd am achubol daith,
A phur rinweddol waith, yr addfwyn Oen.

3 Pan ddelo'r saint y'nghyd,
Uwch poen a maglau'r byd, yn groyw eu cân;
Caniadau am ei loes,
A rhinwedd llawn ei groes,
Fydd hyd dragwyddol oes, yn Salem lân.

4 I'r nefol byrth ni ddaw,
Nac ofn, na phoen na braw, na phechod cas:
Pwy na hiraetha'n wir,
Am rodio'r sanctaidd dir,
Ac yfed dyfroedd clir, Ei ryfedd ras. T. J.

## HYMN CCCCLV. (6. 4.)

*Erfyn am drugaredd faddeuol.*

1 O ARGLWYDD trugarha,
Er dyfned yw fy mhla, a meiau mawr;
Dilëa rhei'ny'n rhad,
A maddeu yn y gwaed,
A dyro wir iachad, i'm clwyfau'n awr.

2 Golch fi oddiwrth fy mai;
Ti elli fy nghlanhau, a'm cànu'n wyn;
Er dyfned yw fy nghlwy'
Anfeidrol ras sydd fwy,
Mae wedi dyfod trwy, Galfaria fryn.

3 Am hyny trugarha,
O! Dduw, a llwyr lanhâ, fy meiau 'gyd,
A golch fi yn y gwaed,
Ar Galfari a gaed,
Yr iachawdwriaeth rad, a'r angeu drud.

4 Cân Haleluia mwy,
Mae Meddyg i dy glwy', er dyfned yw;
Mae modd i'th gyfiawnhau,
Mae ffynnon i'th lanhau,
Y'nghyd a llwyr iachau, dy farwol friw. R. J.

## HYMN CCCCLVI. (6. 4.)

*Taith yr anialwch.*

1 YN teithio Baca 'rwy',
Gan orfod myned trwy, anialwch blin;
Edrychaf tua'r nef,
Cyfodaf yno'm llef,
At Dduw; fe ddichon ef, droi Mara'n win.

2 Er ofni lawer gwaith
Na welwn ben fy nhaith, 'rwy' etto'n fyw,
A Sïon hardd ger bron,
Lle mae caniadau llon,
Gan holl breswylwyr hon, i enw Duw.

3 Fe'm daliodd ar fy nhaith,
Er ofni lawer gwaith, mai marw wnawn;
Er hyny byw trwy ffydd,
A gras am ras bob dydd;
A nerthodd f'enaid prudd, O ddwyfol ddawn!

4 Rhyfeddu 'rwyf bob cam,
Rhyfeddol d'wedaf am, ddoethineb Duw!
Trwy ddyfnder du fe'm dwg,
Trwy ganol tân a mwg,
Gan dynu da o ddrwg, a'm cadw'n fyw. R. J.

## HYMN CCCCLVII. (10au.)

*Gwlad well.*

1 WEL f'enaid cod, sefydla'th wamal fryd,
Mae heibio'n myn'd bleserau pena'r byd;
O dring i fynu, ac anghofia'n awr,
Bob peth a eilw'r ddaear yma'n fawr.

2 Draw, draw y'mhell, tu hwnt i'r dwfwn fedd,
Mae'th gysur oll, dy bleser a dy hedd:
Mae Iesu yno, fe ei hunan yw,
'R cwbl a feddi yn farw ac yn fyw.

3 Ffarwel, mi af mwy tua gwlad o hedd,
Mi anturia 'mlaen, er dychryniadau'r bedd:
Mi wela 'Mhriod pur addfwynaf draw,
Yn wyneb angeu ar fy neheulaw.

4 Ffarwel, ffarwel, i welaf îs y ne',
Ond im' gael Duw yn unig yn eu lle;
Mae fy nymuniad yn terfynu yn un,
Heb ddim yn eisieu ynddo fe ei hun. W. W.

## HYMN CCCCLVIII. (10au.)

*Undeb yr eglwys.*

1 MAE eglwys Dduw, trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw, a'u cydsain yn gytun;
"Teilwng yw'r Oen," medd seintiau sy'n y nef,
"Teilwng yw'r Oen," yw'n llafar ninnau a'n llef.

2 Darfydded sôn, am bob ymryson mwy,
Partiol farn, a rhagfarn 'lawr a hwy;
Doed ysbryd hedd, tangnefedd yn eu lle,
A chariad pur, o'r cariad sy yn y ne'.

3 Gwna fi fel pren planedig, O fy Nuw,
Yn îr ar lan, afonydd dyfroedd byw;
Yn gwreiddio ar led, a'i ddeil heb wywo mwy,
Yn ffrwytho dan, gawodydd ddwyfol glwy.

4 Cenadon hedd, mewn efengylaidd iaith,
Sy'n galw i'r wledd, dros fôr yr India faith;
Caiff Hotentots, Coroniaid dua'u lliw,
Farbaraidd lu, eu dwyn i deulu Duw. A. G.

## HYMN CCCCLIX. (10au.)

*Glanhad oddiwrth bechod.*

1 MAE haeddiant mawr, rhinweddol waed fy Nuw,
Yn llawer mwy, na'r pechod gwaetha' ei ryw:
Ceir maddeu myrdd, o'r beiau mwya' gaed,
A'r euog brwnt a gènir yn y gwaed.

2 O'm pen i'm traed, annhraethol aflan wyf,
Nid oes lanhad, ond yn ei farwol glwyf;
Y ffynnon hon, agorwyd ar y bryn,
Er dued wyf, a'm gylch yn hyfryd wyn.

3 Efe yw'r Iawn, dros ein pechodau ni,
Ei ddryllio a wnaed, ar fynydd Calfari;
Ein dyled mawr, a dalwyd yno'n llawn,
A'r *biliau* oll, a groeswyd un prydnawn. G.

## HYMN CCCCLX. (10au.)

*Ffrwythau'r Prynedigaeth.*

1 WRTH daro'r graig, daeth allan ddyfroedd clir,
Ein dilyn mae', trwy'r dyrys anial dir:
Cawn lawenhau, wrth yfed dyfroedd byw,
A'n golchi'n lân, a'n dwyn i gwmni Duw.

2 Mi ganaf byth, am haeddiant dwyfol waed,
Fy mhrynu a wnaeth, a'm gosod ar fy nhraed;
Boddloni'r Tad, a'i gyfraith yn fy lle,
Ac ennill hawl, i'm byth yn nheyrnas ne'.

3 Gwlad dda heb wae, gwlad wedi ei rhoi dan sel,
Llifeirio mae, ei ffrwyth o laeth a mel:
Grawn-sypiau gwiw, i'r anial dir sy'n dod,
Gwlad nefol yw, uwchlaw mynegi ei chlod. G

## HYMN CCCCLXI. (10au.)

*"Y seren ddydd."*

1 CONCWERWR yw, fy Iesu a'm Duw, bob awr,
Clod iddo ef, trwy'r nef a'r ddaear lawr:
Addawodd fod, trwy ddwfr a thân o'm plaid,
A'i ddeheu law, gyflawnai fy holl raid.

2 Ai seren yw, a'i nerth yn chwalu'n llwyr,
Y tywyll nos, a holl gysgodau'r hwyr?
'Rwy'n gwel'd o bell, ei llewyrch llon trwy ffydd,
A 'nabod 'rwyf, mai hon yw'r seren ddydd:

3 Ai haul yw ef? rhoi llewyrch gras ar led,
Ei gylch a'i wres, trwy'r anial dir a red:
Cenedloedd pell, wynebant at y ne',
Gan lawenhau, pan ymddangoso efe.

## HYMN CCCCLXII. (10au.)

*Crist, oll yn hawddgar.*

1 IESU Grist, y wir winwydden yw,
Ffrwythloni wna, ei holl ganghenau byw;
O hono ef, derbyniant oll bob un,
O'r nefol nodd, sydd ynddo ef ei hun.

2 Ar dir na môr, ei debyg gwn nad oes,
Seraphiaid pur, ni thraethant byth ei oes:
Dringo a wnaf, trwy nerth ei ras o'm gwae,
Nes caffwy'n glir, ei weled fel y mae.

3 Darfydded son, am haeddiant dyn a'i rym,
Fe dawdd yn llwyr, o flaen cyfiawnder llym:
Y'nghlwyfau'r Oen, 'r ymffrostia fy enaid tlawd,
Daeth trefn y nef, a Iesu i mi'n Frawd. G.

## HYMN CCCCLXIII. (10au.)

*Mawl i'r Gwaredwr.*

1 DOED mawr a bach, o îs a gwaelach ryw,
Rhoent glod a mawl, i ganmawl enw Duw:
Down ninau i gyd, o eitha'r byd heb wad,
I'w foli'n faith, am iachawdwriaeth rad.

2 Ei fywyd glân, ei chwys, a'i ruddfan roes,
A'i angeu'n llawn, dal cyflawn ar y groes:
Daw ffrwyth ei groes, a grym eiriolaeth gref,
A'r eiddil gwan, yn gadarn gydag ef. G.

## HYMN CCCCLXIV. (10au.)

*Hunan-ymholiad y Cristion.*

1 RHYFEDDU'R wyf, a mawr ryfeddod yw,
Fy ngharu 'rioed, y gwaela' o ddynol ryw;
Cael yn ei dŷ, o fewn ei furiau le,
Ac enw gwell, nag welir îs y ne'.

2 Paham yr wyf, mor bell oddiwrth fy Nuw?
Fy nghalon wag, mor ffol a gwamal yw!
Pa fodd na bai, fy meddwl ddydd a nos,
A'm henaid fry', wrth Dduw yn glynu'n glos? G.

3 Duw attal di, rwysg fy meddyliau ffol,
A dena'm serch, a'm calon ar dy ol:
Yn holltau'r graig, dod i'm ymg'leddfa glyd,
Mewn tawel hedd, nes myn'd trwy'r anial fyd. G.

## HYMN CCCCLXV. (10au.)

*Dyfod i fynu o'r anialwch.*

1 BRAWD yw efe, i'r llwythog ar y llawr,
Dof ar ei bwys, i fynu o'r cystudd mawr:
Ni thrig yn ol, un ewin, er mor wan,
O'r anial dir, fe'i mynir yn y man.

2 Fy enaid cod, a dos y'mlaen yn hy',
Ymestyn mwy, tua phorth y ddinas fry;
Lle mae gwir hedd, gorfoledd yn parhau,
A chael o hyd, yn hyfryd eu mwynhau.

3 Pa'm'r ofnwn mwy, rhag colyn angeu du,
Can's angeu yw'r porth, i'r ddinas freiniol fry:
Gorchfygu hwn, fy Iesu gwn a wnaeth,
Yn llaw fy Naf, ni arswydaf rym ei saeth. G.

## HYMN CCCCLXVI. (10au.)

*Y cyfammod gras.*

1 CYFAMMOD hedd, cyfammod cadarn Duw,
Ni syfl o'i le, nid ïe a nagê yw;
Cyfammod gwir, ni chyfnewidir chwaith,
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.

2 Cyfammod rhad, o drefniad Un yn Dri;
Hen air y llw, a droes yn elw i ni;
Mae'n ddigon cry' i'n codi i fynu'n fyw:
Ei rym o hyd, yw holl-gadernid Duw.

3 Cyfammod pur, ni n'widir yn y ne',
I ddamnio'r plant, os llithrant hwy o'u lle;
Fe saif ei dir, ni syflir byth mo'i sail,
Mae'n ammod hedd, ar rinwedd Adda'r ail.

4 'Does bwlch yn hwn, fel modrwy'n grwn y mae,
A'i g'lwm mor glos, heb os, nac oni bae;
Nid all y plant ddim gwerthu eu meddiant mwy,
Mae gan Dduw gylch, a'u deil, o'u hamgylch hwy.

5 Cyfammod cry', pwy ato a ddyry ddim?
'Deill byd na bedd, 'chwaith dori ei ryfedd rym;
Diysgog yw hen arfaeth Duw o hyd;
Nid siglo mae, fel gweinion bethau'r byd. E. J.

## HYMN CCCCLXVII. (10au.)

*Ail-ymweliad.*

1 O BASAN bell, mae'n cyrchu ambell un,
Yn ol i'w dŷ, i'r teulu hardd cytun;
O ddyfnder môr, daw rhagor etto'n rhydd;
Y Meichai mwyn, a'u dwyn i oleu'r dydd.

2 Er llithro i'r llaid, a llygru defaid Duw,
Cyfammod sy, i'w codi i fynu'n fyw;
A golchi i gyd, eu holl aflendid hwy,
A'u dwyn o'r bedd, heb ddim anmhuredd mwy. E. J.

## HYMN CCCCLXXII. (10au.)

*Y Deml nefol, Dat.* xi. 9.

1 AGORWYD teml yr Arglwydd yn y nef,
A gwelwyd arch ei lân gyfammod Ef;
Holl ryfeddodau Person Crist a'i waith,
A welir yno i dragwyddoldeb maith.

2 Cyfiawnder Duw sydd yno'n ddysglaer iawn,
A'r gyfraith bur bob iot o honi'n llawn;
Ond i bechadur melys yw y sain,
Fod trugareddfa hefyd rhwng y rhai'n.

3 Y tanllyd gledd fu'n effro iawn cyn hyn,
Taranau a mellt ofnadwy Sinai fryn,
Sy'n awr yn dawel yn yr Arch ddilyth,
Y gair GORPHENWYD a'u tawelodd byth.

4 Mae'r Archoffeiriad yn taenellu'r gwaed,
Mewn gwisgoedd sanctaidd, llaesion, hyd ei draed:
O fewn y llen sancteiddiaf lŷs y nef,
Ac enwau'r llwythau ar ei ddwyfron Ef.

5 Priodoliaethau'r nefoedd yn gytun,
Sydd yno'n gwenu ar golledig ddyn;
Mae hedd yn awr o'r nef i'r llawr yn lli',
A noddfa gref o fewn y nef i ni.

6 Crist ydyw'r arch a'r drugareddfa rad,
Yn enw hwn anturiwn at y Tad;
Fe wrendy gŵyn pechadur heb ei ladd,
Fe gymer blaid yr enaid isel radd. IAGO.

## HYMN CCCCLXXIII. (10au.)

*Rhagddarpariaeth Duw er codi dyn.*

1 CYN llunio'r byd, cyn lledu'r nefoedd wen,
Cyn gosod haul, na lloer, na ser uwch ben;
*Fe drefnwyd ffordd yn nghyngor Tri yn Un,*
*I achub gwael, golledig, euog ddyn.*

2 Trysorwyd gras, ryw annherfynol 'stor,
Yn Iesu Grist, cyn rhoddi deddf i'r môr;
A rhedeg wnaeth bendithion arfaeth ddrud,
Fel afon gref, lifeiriol dros y byd.

3 Mae'r udgorn mawr, yn seinio'n awr i ni,
Ollyngdod llawn, trwy'r iawn ar Galfari;
Mawl yn mhob iaith, trwy'r ddaear faith a fydd,
Am angeu'r groes, a'r gwaed a'n rhoes yn rhydd.

P. J.

## HYMN CCCCLXXIV. (10au.)

*Cwynfan Sïon.*

1 MAE Sïon wan yn gruddfan tan y groes,
Yn dysgwyl gwawr, ar lawr tan lawer loes;
Bywha dy waith, ni phery 'nhaith yn hir,
Rwy'n ofni'r bedd cyn, gwel'd dy wedd yn wir.

## HYMN CCCCLXXV. (11au.)

*Afon Iachawdwriaeth.*

1 YR afon a lifodd rhwng nefoedd a llawr,
Yw gwraidd fy ngorfoledd a nghysur i'n awr;
Calfaria roes haeddiant, Calfaria roes hedd,
Calfaria sy'n cadw agoriad y bedd.

2 O gyfoeth diderfyn, O gariad a gras,
A redodd fel afon lifeiriol i maes;
Gras daena i'r dehau a'r dwyrain o'r bron,
Fe nofia myrddiynau i'r bywyd yn hon.

3 Wel rhedodd fy ngharîad fel afon i maes,
At Brynwr addfwynaf cyfoethog ei ras,
Diflanwch wrthddrychau aneirif eu rhi',
Mae Iesu ei hunan yn ddigon i mi. W. W.

## HYMN CCCCLXXVI. (11au.)

1 MAE'N bryd i ni ganu ni gawsom y fraint,
Mae'r rhyfel yn cerdded o ochr y saint;
Mae'n Brenin ni'n dyfod â'i gledde ar ei glun,
Fe sathrodd y gwinwryf bob gronyn ei hun.

2 Caf gyda'm Hanwylyd deyrnasu mewn hedd,
Yn mhell uwch cyrhaeddiad holl ddychryn y bedd,
Cawn wisgo coronau filiynau y'nghyd,
A chanmawl byth bythoedd Iachawdwr y byd.

3 Y clod, a'r gogoniant, a'r gallu, bob rhyw,
A redo fel moroedd i enw fy Nuw,
Y dechreu a'r diwedd o'r ddaear i'r ne',
O ras ac o haeddiant ei hunan yw E'. W. W.

## HYMN CCCCLXXVII. (11au.)

*Y Cyfaill goreu.*

1 MI ge's y Ffrynd goreu, fyth, fyth all'sai fod,
'R addewid a roddodd, ni thorodd erioed;
Er byw'n ei ogoniant, y'nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder, fe wrendy fy llef.

2 Mae enw f'Anwylyd mor anwyl, mor fawr,
Hyfrydwch y nefoedd, hyfrydwch y llawr,
Ni dderfydd ei garu, ni dderfydd ei glod,
Pan byddo heb seren yn uwchder y rhod.

3 Nid oes gan blant dynion un gronyn o law,
Yn rhyfel ein Harglwydd nag yma na thraw,
Efe sy'n lladd pechod a phlanu pob gras,
Efe bia'r enw i mewn ac i maes.

4 Cawn wared o'n hadfyd, a'n gofid i gyd,
Pob terfysg a dwndwr, a chynhwrf y byd;
'Ddaw blinder, na thrallod, na phechod, na phoen,
*Na gelyn*, na gormes, i fynwes yr Oen. W. W.

## HYMN CCCCLXXVIII. (11au.)

*Yr achos Cenadol.*

1 FE welir rhyw ddyddiau, fy Arglwydd a'i gŵyr,
Pan darddo goleuni yn nghysgod yr hwyr;
Pan delo'r gorllewin, y dwyrain a'r de',
I brofi cawodydd hyfrydaf y ne'.

2 O ddyddiau dedwyddaf, wel brysiwch yn mlaen,
Mae'r arfaeth yn galw, mae pechod yn dân;
Mae pob peth yn addfed, mae gweddi mewn grym
O tyred ddeheuwynt, yn attal 'does dim.

3 Mae'r faner i fynu, hi liwiwyd mewn gwaed,
'Does heddwch i'r gelyn nes cwympo dan draed:
Ni ildia, ni orphwys Tywysog y nef,
Nes byddo'r holl ddaear yn eiddo iddo Ef. W. W



## HYMN CCCCLXXIX. (11au.)

*Mawl i'r Gwaredwr.*

1 WEL bellach gad i mi ro'i ffarwel i'r byd,
Ffarwel i'w drysorau a'i bleser y'nghyd;
Un gorchwyl sydd genyf byth mwyach i gyd,
Sef caru a chanu i Iachawdwr y byd.

2 Moliannwn yr Iesu am hyny bob un,
Bu farw ar Galfaria'r Imanuel ei hun;
Fe gym'rodd ein beiau, eu pwysau, a'u poen,
Dyoddefodd y cwbl mor llariaidd a'r Oen.

3 Wel, bellach dechreuwch mae'n ddigon o bry
I ganu caniadau i Iachawdwr y byd;
Ni seiniwn y ddaear a'r nefoedd uwch ben,
Hosanna, Haleluia, Hosanna, Amen. W. W.

## HYMN CCCCLXXX. (11au.)

*"Teilwng yw'r Oen."*

1 O GARIAD, O gariad, anfeidrol ei faint,
Fod llwch mor annheilwng yn cael y fath fraint;
Cael heddwch cydwybod, a'i chànu trwy'r gwaed,
A chorph y farwolaeth, sef llygredd dan draed.

2 Nid allai'r holl foroedd, byth olchi fy mriw,
Na gwaed y creaduriaid, er amled eu rhyw;
Ond gwaed y Messiah, a'm gwellha'n ddiboen,
Rhyfeddol yw rhinwedd marwolaeth yr Oen.

3 Cydganed y ddaear, a'r nefoedd y'nghyd,
Ogoniant tragwyddol, i Brynwr y byd:
Molianned pob enaid fy Arglwydd ar gân,
Am achub anhydyn, bentewyn o'r tân. M. R.

## MYMN CCCCLXXXI. (11au.)

*Tu yma i'r Gagendor.*

1 ER maint fy nghaledfyd, fy nghlefyd a nghlwyf,
Tu yma i'r gagendor yw'r ochr yr wyf:
Yn nghyrhaedd efengyl fwyn anwyl fy Nuw,
Mae gobaith am danaf y byddaf fi byw.

2 Gogoniant, gogoniant, fod llwyddiant i'r llef,
Sy'n dyfod a bywyd yn ysbryd y nef;
Mae'n gwneyd plant afradlon, oedd feirwon, yn fyw,
A thorf o elynion yn ddynion i Dduw. E. J.

## HYMN CCCCLXXXII. (11au.)

*Anthem y gwaredigion.*

1 GOGONIANT fydd anthem y saint yn gytun,
Pan ddelont o gyrau'r anialwch yn un;
Gogoniant am agor y carchar oedd dyn,
Gogoniant am farw ar Galfari fryn.

2 Gogoniant am achub pentewyn o'r tân,
Am ffynnon i olchi pechadur yn lân:
Am wisg idd ei guddio, a'i gadw rhag llid,
Am ras a maddeuant o'i bechod i gyd.

3 Gogoniant i'r cyfiawn, O cenwch yn un,
Gorchfygodd y cedyrn, yn Edom ei hun;
Mae'n orsedd gogoniant, tragwyddol tŷ'i Dad,
Mae'n ffordd a gwirionedd, a bywyd yn rhad. R. J.

## HYMN CCCCLXXXIII. (12au.)

*Rhad ras.*

1 LLAIS hyfryd rhad ras sy'n gwaeddi Dihangfa;
Yn nghlwyfau Mab Duw i'r euog gael noddfa;
Fe redodd ei waed yn ffrydiau iachusol,
I olchi aflendid a phechod yn hollol:
Haleluia i'r Oen a bwrcasodd ein pardwn,
'Nol croesi'r Iorddonen drachefn ni a'i molwn.

2 Ar angeu ac uffern ca'dd lawn fuddugoliaeth,
Ysbeiliodd holl allu'r tywyllwch ar unwaith;
Holl filwyr y groes gant ynddo dangnefedd,
Fe'u harwain hwy'n sicr i berffaith orfoledd:
Haleluia i'r Oen, &c.

3 Yn ol tirio yn iach i'r tawel anneddau,
Ni a seiniwn ei glod ar euraidd delynau;
Trwy y nefol ardaloedd ni a'i molwn byth bythol,
Wrth rodio ar lenydd yr afon dragwyddol:
Haleluia i'r Oen, &c. D. C.

## HYMN CCCCLXXXIV. (12au.)

*Yr achos Cenadol.*

1 EHEDA, eheda, Efengyl dragwyddol,
Ar adenydd y wawr yn gyflym a[illegible]rthol;
Cyhoedda trwy'r hollfyd fod cymmod â'r nefoedd,

Darostwng yn rasol gyndynrwydd y bobloedd.
O! d'wed am yr Iawn sy'n clirio'r euoca',
A'r ffynnon wna'r Ethiop yn wyn fel yr eira.

2 Dirgelion y nefoedd, datguddia yn helaeth,
Fod Crëwr y byd yn gwisgo dynoliaeth,
Er arbed yr euog, i'r Iesu Jehofa
Offrymu ei hun ar fynydd Calfaria:
O! d'wed, &c.

3 Gwna'r gwylltiaid yn araf, a'r creulon yn dirion,
A chymmod y nef gwna heddwch rhwng dynion;
Cyhoedda fäddeuant i'r euog helbulus,
A thywys y crwydriaid yn ol i baradwys:
O! d'wed, &c. D. C.



## HYMN CCCCLXXXV. (12au.)

*Tragwyddol gartref.*

1 'RWY'N brysio bob dydd, tua therfyn fy ngyrfa,
Ar fyr yn y pridd, y bydd fy ngorweddfa,
Ergydion beunyddiol sydd yn fy malurio;
Mae'm pabell ar ogwydd, yn ebrwydd gwna syrthio,
Tragwyddoldeb o'm blaen, sy'n agor ei ddrysau,
Ar ol i'm fyn'd yno, mi fydda'n fy nghartre'.

2 Blynyddoedd fy oes, yn gyflym sy'n darfod:
Bob dydd a phob nos, 'rwy'n brysio tua'r beddrod,
Beth ydyw fy amser, a'i fesur ond dyrnfedd?
Beth ydyw fy einoes, ond cysgod a gwagedd?
Tragwyddoldeb o'm blaen, &c.

3 Wrth edrych yn ol, a chofio fy llwybrau,
Mi welaf mai'n ffol, y treuliais fy nyddiau:
Y pethau sy'n darfod, ga'dd ormod o'm sylw;
Pa les a wnant i mi, pan ddelwyf i farw?
*Tragwyddoldeb* o'm blaen, &c. Dr. L.

## HYMN CCCCLXXXVI. (8. 7. D.)

*Gorphwysfa yn Nghrist.*

1 DRING fy enaid i'th orphwysfa,
Uwch y gwynt tymhestlog oer,
Maes o swn rhuadau'r llewod,
Maes o gyrhaedd tònau'r môr;
Mi gaf yno tan bob blinder
Hyfryd dreulio 'nyddiau maes,
Heb gael briw, na chlais, nac archoll,
Gan ryw neb gelynion cas.

2 Minau fyddaf ddiddig ronyn,
Ac edrychaf tua'r wlad,
Lle mae mrodyr, lle mae Mhriod,
Lle mae Mhrynwr, lle mae Nhad;
Blinais fyw tu yma i'r afon,
Mae fy Anwylyd yn y ne';
Mi a 'mlaen er cuwch y bryniau,
Rhyd y llwybr 'r aeth efe. W. W.

## HYMN CCCCLXXXVII. (8. 7. D.)

*Hunan-ymholiad y Cristion.*

1 A DDAW gwawr ar ol y plygain,
Sydd mor dywyll i mi'n awr;
A ddaw'm gwar i etto'n union,
Sydd yn teimlo beichiau mawr?
A raid yfed chwerwach dyfroedd,
Nag a yfodd un o fil?
Cyn fy lladd i lwybrau gwamal,
A fy nwyn i gadw'r cul. D. M.

## HYMN CCCCLXXXVIII. (M. B. D.)

*Y Messiah mawr.*

1 BLANT ffyddlon Sïon dewch,
A llawenhewch i gyd,
Yn mlaen â chwi fel milwyr da,
Yn llon er gwaetha'r llid;

O hyfryd ddedwydd awr,
Messiah mawr a gaed,
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

2 Er i ni golli'r hedd,
Yn mharadwysaidd wiw,
A bod yn fyr o gadw'r fraint,
Myn'd dan ddigofaint Duw;
Ni gawsom had y wraig,
Y gadarn graig i'n traed:
Henffych i'r dydd, &c.

3 Addewid gafwyd, do,
'Nol i ni syrthio 'mhell,
Arfaethol ras hawl in' a roed,
Gawd ar gyfammod gwell;
Mae'r sylfaen yn ddigryn,
Ni chollir un o'r had:
Henffych i'r dydd, &c.

4 Wel, dyma'r newydd da,
A lawenycha'r trist,
Mae'r ddraig a Satan er ein mwyn,
Mewn cadwyn gyda'n Crist,
Pan sigodd ef ei siol,
Fe 'nillodd nefol wlad;
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth,
A'r iachawdwriaeth rad. W. W.

## HYMN CCCCLXXXIX. (M. B. D.).

*Ymestyn at berffeithrwydd.*

1 MAE arnaf eisiau sel,
A chariad at dy waith;
Nid rhag ofn y gosp a ddel,
Nac am y wobr chwaith;
Ond gwir ddymuniad llawn,
Ddyrchafu'th gyfiawn glod,
Am i ti wrthyf drugarhau.
A chofio am dana'i 'rioed.

## HYMN CCCCXC. (M. C. D.)

*Y daith ysbrydol.*

1 GALARU'R wyf mewn dyffryn du,
Wrth deithio i dy fy Nhad;
Ar ben y bryniau'n llawenhau,
Y'ngolwg cyrau'r wlad:
'Rwy'n ddu fy lliw, a'm gwisg yn wen,
'Rwy'n llawen ac yn brudd;
'Rwy'n agos iawn, ac etto 'mhell
'Rwy'n waeth 'rwy'n well bob dydd. D. J.

## HYMN CCCCXCI. (9. 8.)

*"Y fan lle gorweddodd yr Arglwydd."*

1 "Y FAN lle gorweddodd yr Arglwydd,"
Yw enw rhyfeddol y bedd,
Er pan fu'r Mechnïydd yno'n gorwedd,
Am dridiau yn waeledd ei wedd.
Fe gododd yn foreu ddydd Sabbath,
Gan agor hen ddorau'r du fedd:
Mae hyn yn rhoi sail imi gredu
Ceir finau i'r lan ar ei wedd.

2 Er claddu perth'nasau mwyn tirion,
Ac anwyl gyfeillion 'run wedd;
'Dyw hyny yn symud mo'r dychryn
Wrth feddwl am fyned i'r bedd.
Ond pan bwy'n myfyrio ar fedd Joseph,
Lle claddwyd fy Mhrynwr a'm Duw,
"Y fan lle gorweddodd yr Arglwydd!"
'Rwy'n dysgwyl er marw ca'i fyw.

3 Fy nyled ar groesbren a dalwyd,
"Gorphenwyd" ei chlirio hi'n llawn;
Fy Meichai fu farw ddydd Gwener,
Yn gynar am dri y prydnawn.

Bu'n gorwedd mewn oeufedd gryn dridiau;
  Mi gofia'n dragywydd "y fan;"
Hosanna! mi gana' byth bythoedd,
  Mi wela' fy Meichai ar y lan. J. P.

## HYMN CCCCXCII. (M. H.)

*Y Sabbath.*

1 GWAITH hyfryd iawn a melys yw,
  Moliannu d'enw di, O Dduw:
  Sôn am dy gariad fore glas,
  A'r nos am wirioneddau'th ras.

2 Melys yw dydd y Sabbath llon,
  Na flined gofal byd mo'm bron;
  O na ba'i nghalon i mewn hwyl,
  Fel telyn Dafydd ar yr wyl!

3 Ond mi gaf ogoneddus ran,
  Pan buro gras fy enaid gwan;
  Mae gwir lawenydd uwch y nen,
  Fel olew pur i loni'm pen.

4 Caf wel'd a chlywed yno 'nghyd,
  Oll a ddymunais yn y byd;
  A'm henaid a gaiff felys waith,
  Yn y tragwyddol fywyd maith. DR. W.

## HYMN CCCCXCIII. (M. H.)

*"Teilwng yw'r Oen."*

1 HENFFYCH i [illegible] Iesu gwiw,
  Syrthied o'i fla[illegible]ngylion Duw;
  Rhowch iddo'r par[illegible]oll deulu'r nef,
  Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

2 Chwychwi a brynwyd trwy ei waed,
  Plygwch yn isel wrth ei draed;
  Fe'ch tynodd a thrugaredd gref,
  Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

3 Boed i bob llwyth a phob ryw iaith,
Trwy holl derfynau daear faith;
Gydganu'n llafar iawn eu llef,
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

4 Er bod eu beiau'n aml iawn,
Mae ganddo iachawdwriaeth lawn;
Eu cànu'n wyn wna Brenin nef,
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

## HYMN CCCCXCIV. (M. S.)

*Ar dymhor gwlyb.*

1 DAIONUS a thosturiol iawn,
A graslawn ydwyt Arglwydd;
Dy rad drugaredd yn ddïau,
Sydd yn parhau'n dragywydd.

2 Wrth rai annheilwng o gael byw,
O Arglwydd Dduw tosturia;
Ac arbed etto'r flwyddyn hon,
Na thòr mo ffon ein bara.

3 O'th ras tosturia wrth rai ffol,
Haeddiannol o dy gerydd;
Dy fendith ar y wialen dod,
Dysg i ni fod yn ufudd.

4 Duw, dod orchymyn oddi fry,
I chwalu y cymylau;
Can's os gorchymyn genyt gânt,
Attaliant eu costrelau. J. H.

## HYMN CCCCXCV. (M. C.)

*Ffynnon i olchi pechod.*

1 MI welaf ffynnon lawn o waed,
O waed Immanuel mawr,
Lle gall troseddwyr mwyaf gaed,
Gael bywyd ynddi'n awr.

2 Bu dda i'r lleidr ar y groes,
Ei chaffael yn ei ddydd:
Maddeuwyd holl bechodau'i oes,
A'i enaid aeth yn rhydd.

3 Mae llais y nef yn galw'n glir,
Drueiniaid fawr a mân,
I ddyfod iddi heddyw'n wir,
I'w golchi oll yn lân.

4 Yr wyf yn dyfod, O fy Nuw,
I 'mofyn am y gwaed:
O golch yn lân y dua'i liw,
Sy'n dysgwyl wrth dy draed.

## HYMN CCCCXCVI. (M. C.)

*Yr achos Dirwestol.*

1 MAE baner rhinwedd ar y maes,
A phechod cas yn ffoi,
Ac o du sobrwydd wele'n awr,
Mae'r frwydr fawr yn troi.

2 I lawr daw'r eilun yn ddibarch,
Fel Dagon wrth arch Duw;
Ac fe ddilëir cyn bo hir,
Ei goffa o dir y byw.

3 Aed afon iachawdwriaeth gras,
Drwy'r ddaear las o'r bron,
Ac yfed holl genedloedd byd,
O ddyfroedd hyfryd hon.

## HYMN CCCCXCVII. (10. 8.)

*Calfaria fryn.*

1 ER byw, y'mysg gelynion o bob rhyw,
A chael oddiwrthynt fynych friw,
Ond dyna yw fy ngrym yn hyn,
Sef golwg ar y taliad llawn,
Anfeidrol Iawn Calfaria fryn

2 Myn'd trwy, anialwch dyrus yma 'rwy',
Mewn rhyw drallodion fyrdd a mwy,
Ond trwyddynt hwy af yn ddigryn,
Nes myn'd i mewn i'r Ganaan dir,
Y'ngoleu clir Calfaria fryn.

3 Nid oes, a'm ceidw'n dawel dan bob croes,
Ond golwg clir ar angeu loes,
Can's yma troes hi'n olwg syn,
Duw tragwyddoldeb fel yn was,
O ryfedd ras Calfaria fryn.

4 Mae gwledd, i'w chael yr ochr yma i'r bedd,
Bob tro ceir golwg ar dy wedd,
Ond O yr hedd geir ar ol hyn!
Wrth gael bob mynyd fwrdd yn llawn,
A byw ar Iawn Calfaria fryn. R. H.

## HYMN CCCCXCVIII. (Anthem.)

*Yr achos Cenadol.*

1 TEYRNASA, Iesu mawr,
Dros y ddaear lawr:
Bydd mynydd tŷ ein Harglwydd ni
Yn fawr ei fri, uwch mynyddau'r llawr,
Pan dŷr nefol wawr:
Daw pobloddd lawer o bob gwlad
At ei draed, am ryddhad a iachad;
Fe fydd rhyfedd wiw orfoledd,
Sain clodforedd hyfryd iawn;
Sain Hosanna, Haleluia,
Fydd yn uchel am Galfaria
Pan ddel Jubil lawn. P. J.

## HYMN CCCCXCIX. (Anthem.)

*Cwymp Babilon.*

1 FE gwympir muriau Babel fawr,
Fe'i gwneir yn wastad gyda'r llawr:
Cydlawenhewch anwyliaid nef,
Duw a wrandawodd ar eich llef.

I lawr, i lawr i'r dyfnfor mawr,
Hi gwymp, hi gwymp mewn mynyd awr:
Rhyw ddychrynadwy foddion fydd i ddymchwel hon;
Ac mwyach bydd yn brudd ei bron:
O ddedwydd awr! tra mawr gorfoledd fydd,
Pan welir meibion Sïon oll yn rhydd;
Pryd hyn y dedwydd fyd ag uchel gân,
Ddadseinia foliant y Gwaredwr glân.
Haleluia, Amen.

2 Daw'r byd yn un i foli'r Ion,
Am fuddugoliaeth Crist bydd son:
Gorchfygu wna, caiff anghrist glwy',
Babel a syrth, ni chyfyd mwy,
Hi gwymp, ei seiliau'n crynu sydd,
A thost ddymchweliad arni bydd:
Dadseinir hyn trwy'r nef a'r llawr,
"Daeth dystryw llwyr ar Babel fawr."
Neshau mae'r dydd i ganu'r Anthem bêr
I Dduw a'r Oen gan seintiau rif y sêr,
"Y ddraig sy'n rhwym, fe ddaeth y Jubili,
Aeth Iesu'n frenin dros ein daear ni."
Haleluia, Amen.

## HYMN D. (Anthem.)

*Genedigaeth Crist.*

1 CLYWCH! llu'r nef yn seinio cair,
Henffych eni Crist o Fair!
Heddwch sydd rhwng nef a llawr,
Duw a dyn sy'n un yn awr.

2 Dewch bob cenedl îs y rhod,
Unwch â'r angylaidd glod:
Bloeddiwch oll â llawen drem,
Ganwyd Crist yn Bethlehem:
Clywch! llu'r nef, &c.

P. J.

## HYMN DI. (ANTHEM.)

*Yn niwedd odfa.*

1 BOED i ras ein Ceidwad Iesu,
Ac anfeidrol gariad Duw;
A dyddanus wên yr Ysbryd,
Orphwys arnom tra bo'm byw:
Felly cedwir undeb perffaith
Rhyngom oll, a Duw y'nghyd,
Meddu cawn mewn hoff gymundeb
Llonder mwy na fedd y byd.
Haleluia, Amen. *Cyf.* R. W.

---

## HYMN DII. (ANTHEM.)

*Marwolaeth y Cristion.*

1 BUR wreichionen oddi fry,
Gad, O gad dy farwol dŷ:
Dysgwyl, oedi, brysio, crynu;
Pleser mawr a phoen yw trengu!
Paid, hoff natur, paid â'th gur,
A gad im' farw i fywyd pur.

2 Clywch! gan engyl sibrwd sy,
Tyr'd, chwaer ysbryd, esgyn fry:
Beth yw hyn sy'n dwyn dan sel
Fy synwyrau, cau fy ngwel,
Suddo f'ysbryd, tynu'm ffun?
Ai marw yw? d'wed, f'enaid cun.

3 Mae'r byd yn ffoi, mae'n cilio draw;
Mae'r nef yn agor ar bob llaw,
A sain seraphaidd lu:
Rho'wch, rho'wch im' hwyl! af uwch y llawr;
Pa le mae'th rym, O uffern fawr,
A'th gôl, O angeu du? *Cyf.* [illegible]

## HYMN DIII. (ANTHEM.)

*Cladedigaeth y Cristion.*

1 CLYWCH, beth yw'r llais o glaerlys Nêr,
 I'r dwyfol feirwon lu,
Eu henwau sy'n archwaethu'n bêr,
 A'u cwsg sy'n esmwyth sŷ,
Yn Iesu buont feirw'n wir,
 Mor dawel yw eu hun;
Gwaredwyd hwy o boen a bai,
 A maglau gwn bob un:
Y'mhell o'r byd llawn cur a thrais,
 Y maent yn ngwydd eu Duw;
Eu llafur blin a'u marwol loes
 Droes yn orphwysfa clyw.

## HYMN DIV. (ANTHEM.)

*Wrth ymadael.*

1 ARGLWYDD, gollwng di y dyrfa,
 Dan dy fendith, yn dy hedd;
Gan ymborthi ar y manna,
 Efengylaidd, dwyfol wledd;
Llanw'n henaid â'th ddyddanwch,
 Ninau folwn d'enw glân;
A phan ddelom i ddedwyddwch,
 Tra phereiddiach fydd ein cân:
Dros fyth, Haleluia i Dduw ac i'r Oen,
Dros fyth, Haleluia, Amen.

## HYMN DV. (ANTHEM.)

*Trigfan nefol y Cyfiawn.*

1 Y CYFIAWN a drig yn y nef gyda Duw a'r Oen,
 Yn rhoddi'r clod i Dduw am ei ras,
A'i fawr gariad rhad:
Maent wedi cyrhaedd pen eu taith,
Gyda'r seintiau canant geinciau,
Nefol odlau, mawl i Dduw, am eu cadw'n fyw.

# SALMAU

## SALM I.*

1 Y SAWL ni rodia dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gynghor:
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
Nid eiste'n 'stol y gwatwor.

2 Ond ei holl serch ef fydd yn rhwydd,
Ar ddeddf yr Arglwydd uchod:
Ac ar ei ddeddf, rhydd ddydd a nos,
Yn ddiddos ei fyfyrdod.

3 Ef fydd fel pren plan ar làn dôl,
Dwg ffrwyth amserol arno:
Ni chrina'i ddalen, a'i holl waith,
A lwydda'n berffaith iddo.

## SALM II.

1 GWAS'NAETHWCH chwi yr Arglwydd nef,
Ac ofnwch ef drwy oglud:
A byddwch lawen yn Nuw cu,
Etto trwy grynu hefyd.

2 Cusenwch y Mab, rhag ei ddig,
A'ch bwrw yn ffyrnig heibio:
A gwyn eu byd pob calon lân
A ymddiriedan' ynddo.

## SALM. III.

1 AR Dduw yr Arglwydd â'm holl lais
Y gelwais yn dosturaidd:
Ac Ef a'm clybu i ar frys,
O'i uchel freinllys sanctaidd.

2 Mi orweddais, ac a gysgais,
   Ac mi a godais gwedi:
Canys yr Arglwydd oedd i'm dal,
   I'm cynnal, ac i'm codi.

3 I'r Arglwydd byth o achos hyn,
   Y perthyn iachawdwriaeth:
Ac ar ei bobl y disgyn gwlith,
   Ei fendith yn dra helaeth.

## SALM IV.

1 GWYBYDDWCH ethol o Dduw Cun,
   Iddo 'i hun y duwiolaf:
A phan alwyf arno yn hy',
   Efe a wrendy arnaf.

2 Pwy, medd llaweroedd, y pryd hyn,
   A ddengys in' ddaioni?
O Arglwydd, dyrcha d' wyneb-pryd,
   Daw digon iechyd i ni.

3 Rho'ist i'n calon lawenydd mwy,
   A hyny drwy dy fendith,
Nag a fyddai gan rai yn trin,
   Amlder o'u gwin a'u gwenith.

## SALM V.

1 ARGLWYDD, clyw 'ngweddi yn ddiball,
   Duw, deall fy myfyrdod:
Erglyw fy llais a'm gweddi flin,
   Fy Nuw, a'm Brenin hyglod.

2 Dof finau tua'th dŷ mewn hedd,
   Am dy drugaredd galwaf:
Trwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
   I'th sanctaidd eglwys treiglaf.

3 Can's ti Arglwydd anfoni wlith,
Dy fendith ar y cyfion;
A'th gywir serch, fel tarian gref,
Rhoi drosto ef yn goron.

## SALM VI.

1 O ARGLWYDD, na cherydda fi,
Yn mhoethni dy gynddaredd:
Ac na chosba fi yn dy lid,
Oblegid fy anwiredd.

2 Duw, gwared f'enaid, dychwel di,
Iachâ fi â'th drugaredd:
Nid oes yn angeu gof na hawl;
A phwy a'th fawl o'r pridd-fedd?

3 Yr Arglwydd clybu Ef fy arch,
Rhof finau barch a moliant:
Fe dderbyn fy ngweddi, a'm gwaedd:
Am hyn yr haedd ogoniant.

## SALM VII.

1 O ACHUB fi, fy Nuw, fy Ner;
Can's mae fy hyder ynod:
Rhag fy erlidwyr gwared fi;
Can's mae o'r rheini ormod.

2 Ac am fod Duw yn canfod hyn,
Duw yw f' ymddiffyn inau:
Duw sydd Iachawdwr i bob rhai,
Sydd lân ddifai'u calonau.

3 I'm Harglwydd Dduw rhof finau glod,
Caf ganfod ei gyfiawnder:
A chanmolaf ei enw yn rhwydd,
Yr Arglwydd o'r uchelder.

## SALM VIII.

1 O ARGLWYDD, ein Ior ni a'n nerth,
Mor brydferth wyt drwy'r holl-fyd!
Dy enw a'th barch a ro'ist uwch ben,
Daear ac wybren hefyd.

2 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
A gweled gwaith dy fysedd,
Y lloer, y ser, a threfn y rhod,
A'u gosod mor gyfanedd.

3 Pa beth yw dyn, it' i'w goffhau,
O ddoniau ac anwyl-fraint?
A pheth yw mab dyn, yr un wedd,
Lle rhoi ymgeledd cymaint?

## SALM IX.

1 CLODFORAF fi fy Arglwydd Ion,
O'm calon, ac yn hollawl:
Ei ryfeddodau rhof ar led,
Ac mae'n ddyled eu canmawl.

2 Byddaf fi lawen yn dy glod;
Ac ynod gorfoleddaf:
I'th enw O Dduw y canaf glod;
Wyd hynod y Goruchaf.

3 Gwna'r Arglwydd hefyd hyn wrth raid,
Trueiniaid fo'u hamddiffyn:
Noddfa a fydd i'r rhai'n mewn pryd,
Pan fo caledfyd arnyn'.

## SALM X.

1 O ARGLWYDD, pa'm y sefi di,
Oddiwrthym ni cyn belled?
*Pa'm* yr ymguddi di a'th rym,
*Pan* ydym mewn caethiwed.

2 Duw, gweddi'r gwan a glywaist ti,
Ac a gysuri'r galon:
Tro eilwaith atom y glust dau,
A chlyw weddïau ffyddlon.

3 Tros yr ymddifaid y rhoi farn,
A'r gwan fydd cadarn bellach;
Megys nas gall daearol ddyn,
Mo'r pwyso arnyn' mwyach.

## SALM XI.

1 YR Arglwydd o'i orseddfa fry,
At y tlawd try ei olwg:
Gweithredoedd holl hiliogaeth dyn,
I'w lygaid ydyn' amlwg.

2 Can's cyfion ydyw'r Arglwydd Ner,
Cyfiawnder mae'n ei garu:
A'i wyneb at yr union try,
A hyny i'w ymg'leddu.

## SALM XII.

1 O ACHUB bellach, Arglwydd cu,
Fe ddarfu'r trugarogion:
A'r holl wirionedd ar ball aeth,
O blith hiliogaeth dynion.

2 Pur iawn yw geiriau'r Arglwydd nef,
A'i 'ddewid ef sydd berffaith,
Fel arian o ffwrn, drwy aml dro,
Wedi' goeth buro seithwaith.

## SALM XIII.

1 PA hyd, fy Arglwydd, Dduw dilyth?
Ai byth yr wyf mewn anghof?
Pa guddio 'rwyt O Dduw pa hyd,
Dy lân wyneb-pryd rhagof.

2 Pe llithrwn ddim rhag maint yw'r llid,
Fe dd'wedid fy ngorchfygu:
A llawen fyddai fy holl gas;
Dal fi o'th ras i fynu.

3 Minau'n dy nawdd a ro'is fy ffydd,
A'm holl lawenydd eithaf:
Canaf i'm Duw a'm helpiodd i:
Gwnaf gerddi i'r Goruchaf.

## SALM XV.

1 DYWAID i mi, pa ddyn a drig
I'th lys barchedig, Arglwydd?
A phwy a erys ac a fydd,
Yn mynydd dy sancteiddrwydd.

2 Yr hwn a rodia'n berffaith dda,
Yr hwn a wna gyfiawnder:
A'r hwn a draetha o'i galon wir,
A drig ar dir uchelder.

3 Yr hwn sydd isel yn ei fryd,
Yn caru'i gyd grist'nogion:
Yr hwn sy'n ofni'r Arglwydd Dduw,
Ac sydd yn byw yn ffyddlon.

## SALM XVI.

1 CADW fi, Dduw, can's rhois fy mhwys,
A'm coel yn dradwys arnat:
Fy Arglwydd wyt, mae dan fy mron,
Y gyffes hon yn wastad.

2 Trwy Dduw y syrthiodd i mi ran,
O fewn y fan hyfrydaf:
Dygwyddodd i mi er fy maeth,
Yr etifeddiaeth lanaf.

## SALM XVII.

1 GALW yr wyf arnat am dy fod,
Yn Dduw parod i wrando:
Gostwng dy glust, a chlyw yn rhodd,
Fy holl ymadrodd etto.

2 Cadw fi'n anwyl rhag eu twyll,
Fel anwyl ganwyll llygad:
Y'nghysgod dy adenydd di,
O cadw fi yn wastad.

3 Minau mewn myfyr, fel mewn hûn,
A welaf lun d' wyneb-pryd:
A phan ddihunwyf o'r hûn hon,
Y byddaf ddigon hyfryd.

## SALM XVIII.

1 O IOR fy ngrym, caraf di'n fawr,
Fy nghreiglawr, twr f' ymwared:
Fy Naf, fy nerth, fy nawdd, fy Nuw,
Hwn yw fy holl ymddiried.

2 Yna y gelwais ar fy Ner;
Ef o'r uchelder clywodd:
A'm gwaedd a ddaeth hyd ger ei fron,
A thirion y croesawodd.

## SALM XIX.

1 DATGAN y nefoedd fawredd Duw,
Yr unrhyw gwna'r ffurfafen:
Y dydd i ddydd, a'r nos i nos,
Sy'n dangos cwrs yr wybren.

2 Er nad oes ganddynt air nac iaith,
Da 'dywaid gwaith Duw Lywydd:
Diau nad oes na mor, na thir,
Na chlywir eu lleferydd.

3 O Arglwydd, fy Mhrynwr a'm nerth,
Bydded yn brydferth genyd
Fy 'madrodd pan ddel ger dy fron,
A'm myfyr calon hefyd.

## SALM XX.

1 GWRANDAWED di yr Arglwydd Ner,
Pan ddel cyfyngder arnad:
Enw Duw Jacob ein Duw ni,
A'th gadwo di yn wastad.

2 O'i gyssegr rhoed it' help a nerth,
A braich o brydferth Sïon:
Cofied dy offrwm poeth a'th rodd,
Bo rhai'n wrth fodd ei galon.

3 Cadw ni, Arglwydd, â'th law gref;
Boed Brenin y nef drosom:
Gwrandawed hwnw arnom ni,
A'n gweddi pan y llefom.

## SALM XXII.

1 YNOT gobeithiai'n tadau ni,
A thydi oedd eu bwcled:
Ymddiried ynot, Arglwydd hael,
Ac felly cael ymwared.

2 Llefasant drwy ymddiried gynt,
Da fuost iddynt, Arglwydd:
Eu hachub hwynt a wnaethost ti,
Rhag cyni, a rhag gw'radwydd.

3 Trigolion byd a dro'nt yn rhwydd
At yr Arglwydd, pan gofiant:
A holl dylwythau'r ddaear hon
Dont ger ei fron, ymgrymant.

## SALM XXIII.

1 YR Arglwydd yw fy Mugail clau,
Ni ad byth eisiau arnaf:
Mi gaf orwedd mewn porfa fras
Ar lan dwr gloywlas araf.

2 Fe goledd f'enaid, ac a'm dwg
'Rhyd llwybrau diddrwg, cyfion:
Er mwyn ei Enw mawr dilys
Fe'm tywys ar yr union.

3 Pe rhodiwn, nid ofnwn am hyn,
Yn nyffryn cysgod angau:
Wyt gyda mi, â'th nerth, a'th ffon,
Ond tirion ydyw'r arfau?

4 O'th nawdd y daw y doniau hyn
I'm canlyn byth yn hylwydd:
A minau a breswyliaf byth
A'm nyth yn nhŷ yr Arglwydd.

## SALM XXIV.

1 YR Arglwydd pïau'r ddaear lawr,
A'i llawnder mawr sy'n eiddo:
Yr Arglwydd bïau yr holl fyd,
A'r bobl i gyd sydd ynddo.

2 Er hyny, pwy a ddringa'n hy
I gyssegr fry yr Arglwydd?
A phwy a saif â theilwng wedd
Y'ngorsedd ei sancteiddrwydd?

3 Hon sy gan Dduw'n genedlaeth gref,
A'i ceisiant ef yn effro:
A geisiant d'wyneb, dyma'u maeth
Sef gwir genedlaeth Iago.

## SALM XXV.

1 ARGLWYDD, dangos im' dy ffordd di,
A phar i mi ei deall:
Dysg, ac arwain fi yr un wedd,
Yn dy wirionedd diball.

2 I'r sawl a gadwo ddeddfau'r Ion,
A'i union dystiolaethau,
Gwirionedd a thrugaredd fydd
Ei lywydd yn ei lwybrau.

3 Er mwyn dy enw, O Arglwydd mau,
Duw maddau fy anwiredd:
Can's fy nhroseddiad i mawr yw;
Mwy ydyw dy drugaredd.

## SALM XXVII.

1 YR Arglwydd yw fy ngoleu 'gyd,
A'm hiechyd: rhag pwy'r ofnaf?
Yr Arglwydd yw nerth f'oes: am hyn,
Rhag pwy doe ddychryn arnaf?

2 Un arch a erchais ar Dduw Naf,
A hyny a archaf etto:
Cael dyfod i dŷ'r Arglwydd glân,
A bod â'm trigfan ynddo.

3 I gael ymweled â'i deml deg,
A hyfryd osteg ynddi,
Holl ddyddiau f'einoes: sef wyf gaeth
O fawr hiraeth am dani.

## SALM XXVIII.

1 O ARGLWYDD, erglyw fy llais i,
A derbyn weddi bruddaidd:
Pan godwyf fy nwy law o bell,
Duw, tua'th gafell sanctaidd.

2 Bendigaid fyddo'r Arglwydd nef,
  Fe glybu lef fy ngweddi:
Yr Arglwydd yw fy nerth a'm rhan,
  A'm tarian, a'm daioni.

3 Ymddiriedais iddo am borth,
  A chefais gymhorth ganddo:
Minau o'm calon, drwy fawr chwant,
  A ganaf foliant iddo.

## SALM XXIX.

1 RHODDWCH i enw yr Arglwydd glod,
  Heb orfod mwy mo'ch cymhell:
Addolwch Arglwydd yr holl fyd,
  Mor hyfryd yw ei babell.

2 Yr Arglwydd a rydd i'w bobl nerth,
  Drwy brydferth gyfaneddwch:
Yr Arglwydd rydd ei bobl y'mhlith
  Ei fendith, a hir heddwch.

## SALM XXX.

1 FY Nuw, pan lefais arnat ti,
  Y rhoddaist i mi iechyd:
Cedwaist fy enaid rhag y bedd,
  A rhag diwedd anhyfryd.

2 Cenwch i'r Ion, chwi ei holl saint,
  A maint yw gwyrthiau'r Arglwydd:
A chlodforwch ef ger ei fron,
  Drwy gofion o'i sancteiddrwydd.

3 Enyd fechan y sai'n ei ddig,
  O gael ei fodd trig bywyd:
Heno brydnawn wylofain sydd,
  Y bore ddydd daw iechyd.

## SALM XXXI.

1 MI a 'mddiriedais ynot, Ner,
Fel na'm gw'radwydder bythoedd:
Duw, o'th gyfiawnder, gwared fi,
A chlyw fy nghri hyd nefoedd.

2 Gogwydd dy glust ataf ar frys,
O'th nefol lys i wared:
A bydd im' yn graig gadarn siwr,
Yn dŷ a thŵr i'm gwared.

3 Cymerwch gysur yn Nuw Ion,
Ef a rydd galon ynoch:
Ac os gobeithiwch ynddo ef,
Ei law yn gref bydd drosoch.

## SALM XXXII.

1 Y SAWL sy deilwng, gwyn ei fyd,
Drwy fadde'i gyd ei drosedd:
Ac y cysgodwyd ei holl fai,
A'i bechod, a'i anwiredd.

2 Rhyw loches gadarn wyt i mi,
Rhag ing y'm cedwi'n ffyddlon:
Amgylchyni fyfi ar led
A cherdd ymwared gyson.

## SALM XXXIII.

1 CENWCH i'r Ion fawl a mawrhad,
Wiw gerdd o ganiad newydd:
Cenwch iddo yn llafar glod,
Bid parod eich lleferydd.

2 Yr holl ddaear ofned ein Duw,
A phob dyn byw a'i preswyl:
Ei arch a saif, a'i air a fydd;
A hyny sydd i'w ddysgwyl.

3 A phob cenedloedd dedwydd ynt,
Os Duw iddynt fydd Arglwydd:
A'i etholion efe a'u gwnaeth
Yn etifeddiaeth hylwydd.

## SALM XXXIV.

1 DIOLCHAF fi, â chalon rwydd,
I'r Arglwydd bob amserau:
Ei foliant ef, a'i wir fawrhad
Sy'n wastad yn fy ngenau.

2 Wele, y truan a roes lef,
A Duw o'r nef yn gwrando,
Ac a'i gwaredodd o'i holl ddrwg,
A'i waedd oedd amlwg iddo.

3 Angel ein Duw, a dry yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant:
Ceidw ef hwynt: a llawer gwell
Na chastell yw eu gwarant.

4 O profwch, gwelwch ddäed yw
Yr Arglwydd byw i'r eiddo:
A gwyn ei fyd pob dyn a gred,
Roi ei ymddiried ynddo.

5 Agos iawn yw ein Duw at gur
Y galon bur ddrylliedig:
A da y ceidw ef bob pryd
Yr ysbryd cystuddiedig.

## SALM XXXV.

1 CYFOD, deffro, fy Nuw i'm barn,
Yn gadarn gyda'm gofid:
Dydi a fyni'r uniondeb;
Ni watwar neb o'm plegid.

2 Minau a ganaf i ti glod,
Lle bo cyfarfod lluoedd:
Ac a folaf dy enw a'th ddawn,
Wrth lawer iawn o bobloedd.

## SALM XXXVI.

1 O MOR werthfawr, fy Arglwydd Dduw,
I bawb yw dy drugaredd!
I blant dynion da iawn yw bod
Y'nghysgod dy adanedd.

2 Cyflawn o frasder yw'r tŷ tau,
Lle llenwir hwythau hefyd:
Lle y cânt ddiod genyt I[illegible],
O flasus afon hyfryd.

3 O estyn etto i barhau,
Dy drugareddau tirion:
Ni a'th adwaenom di a'th ddawn
I'r rhai sydd uniawn galon.

## SALM XXXVII.

1 CRED ynddo ef, fe'th ddwg i'r lan,
Myn allan dy gyfiawnder:
Mor oleu a'r haul haner dydd,
Fel hyny bydd d'eglurder:

2 Iechyd y cyfion sydd o Dduw Ner,
A'i nerth mewn amser cyffro:
Cymhorth, ceidw, o drwg y tyn,
A hyn am gredu ynddo.

## SALM XXXVIII.

1 GAN im' gredu i ti yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw goruchaf:
*Rh*wydd a hysbys iawn genyf fi
Yw, y gwrandewi arnaf.

2 Clyw, Arglwydd, fi; herwydd o'th flaen
Yn hollawl mae 'nymuniad:
Ni chuddiwyd mo'm hochenaid i
Oddiwrthyt ti, fy Ngheidwad.

3 Duw, nac ymâd, na fydd yn mhell,
Pan ddelo dichell ffyrnig:
Brysia, cymhorth fi yn y byd,
Fy Nuw, a'm hiechyd unig.

## SALM XXXIX.

1 O DANGOS im', fy Arglwydd Ner,
Pa amser y diweddaf
Rifedi 'nyddiau: a pha hyd
O fewn y byd y byddaf.

2 Rhoddaist fy nyddiau fel lled llaw;
I'm heinioes daw byr ddiwedd:
Diau yn d'olwg di, O Dduw,
Fod pob dyn byw yn wagedd.

3 O paid â mi, gad im' gryfhau,
Cyn darfod dyddiau 'mywyd:
O gwna â mi, sy 'mron fy medd,
Drugaredd a syberwyd.

## SALM XL.

1 BUM yn dyfal ddysgwyl fy Ner,
Ef o'r uchelder clybu:
Clust-ymwrandawodd ef fy llais,
Pan lefais ar i fynu.

2 Cododd fyfi o'r pydew blîn,
A'r pridd tra gerwin tomlyd:
A rhoes ar graig fy nhroed i wau,
A threfn fy nghamrau hefyd.

3 A newydd gerdd i'm genau rhoes,
Clod iddo troes yn hylwydd:
Pawb ofnant pan y gwelant hyn,
A chredant yn yr Arglwydd.

## SALM XLI.

1 GWYN ei fyd yr ystyriol frawd,
A wnel â'r tlawd syberwyd:
Yr Arglwydd ystyriol o'r nef
A'i ceidw ef rhag drygfyd.

2 Yn ei wely pan fo yn glaf,
Rhydd y Goruchaf iechyd:
A Duw a g'weiria oddi fry
Ei wely yn ei glefyd.

## SALM XLII.

1 YR un wedd ag y bref yr hydd
Am yr afonydd dyfroedd:
Felly y mae fy hiraeth i
Am danat ti, Duw'r nefoedd.

2 Fy enaid i sychedig yw
Am fy Nuw byw, a'i gariad:
Pa bryd y dof fi ger dy fron,
Fy Nuw a'm cyfion Ynad?

3 Fy Naf a roes y dydd im' hedd,
A'r nos gyfanedd ganu,
I ganmawl fy Nuw, hwn a roes
Im' einioes i'w foliannu.

## SALM XLIII.

1 CAN'S ti yw Duw fy nerth i gyd;
Paham y'm bwrid ymaith?
A pha'm yr af mor drwm a hyn,
Gan bwys y gelyn diffaith.

2 O gyr dy oleu, moes dy wir;
  Ac felly t'wysir finau:
Arweiniant fi i'th breswylfeydd,
  I'th fynydd ac i'th demlau.

## SALM XLIV.

1 O DEFFRO, cyfod, Dduw, mewn pryd:
  Pa'm ydwyt cyd yn gorwedd?
A dihuna, a chlyw fy nghri:
  A chofia fi o'r diwedd.

2 Paham y cuddi d'wyneb pryd?
  O darbod hyd ein blinder,
Ein henaid mathrwyd yn y llwch,
  Gan dristwch a gorthrymder.

## SALM. XLV.

1 GWISG dy gleddeu y'ngwasg dy glun,
  O gadarn gûn gogonedd:
A hyn sydd weddol a hardd iawn,
  Mewn llwydd a llawn orfoledd.

2 Marchog ar air y gwir yn rhwydd,
  Lledneisrwydd a chyfiawnedd,
A'th law ddehau di a â drwy,
  Bethau ofnadwy rhyfedd.

3 A thanat ti pobloedd a syrth,
  Gan wyrth dy saethau llymion;
Briwant hwy, a glynant yn glau,
  Ym mronau dy elynion.

4 Coffaf dy enw di ym mhob oes,
  Tra caffwyf einioes imi:
Am hyn y bobloedd a rydd fawl,
  Byth yn dragwyddawl i ti.

2 O ceisglwch ataf fi fy saint,
Y rhai drwy ryddfraint brydferth,
A wnaethant ammod â myfi,
A'i rhwymo hi drwy aberth.

## SALM LI.

1 TRUGAREDD dod i mi,
Duw o'th ddaioni tyner;
Ymaith tyn fy anwiredd mau,
O'th drugareddau lawer.

2 Ag isop golch fi'n lân,
Ni byddaf aflan mwyach,
Byddaf fi o'm golchi mal hyn,
Fel eira gwyn neu wynach.

3 Duw, crëa galon bur,
Dod i mi gysur beunydd,
I fyw yn well tra fwy'n y byd,
Dod ynof ysbryd newydd.

4 O Dduw, na ddyro chwaith,
Fi ymaith o'th olygon,
Ac na chymer dy Ysbryd Glan,
Oddiwrthyf druan gwirion.

5 Bydd dda wrth Sïon fryn,
O Arglwydd, hyn a fynni:
Ac wrth Gaersalem dy dreftâd;
A gwna adeilad arni.

## SALM LII.

1 MINAU fel olewydden werdd,
Yn nhŷ Dduw, cerdd a ganaf,
Ymddiriedaf iddo yn hawdd,
Byth dan ei nawdd y byddaf.

2 Mi a'th folaf, a gobeithiaf,
Byth bythoedd drwy ymddiried;
Da yw dangos ger bron dy saint,
Dy enw a maint dy weithred.

## SALM LV.

1 MINAU gweddïaf ar Dduw byw,
Yr hwn a'm clyw mewn amser,
Hwyr a bore a chanol dydd,
A hyn a fydd drwy daerder.

2 O bwrw d'ofal ar dy Dduw,
O myni fyw heb syrthio :
Duw a geidw y cyfion byth,
A'r drwg fo'i chwyth i gwympo.

## SALM LVII.

1 DY ras, dy nawdd, fy Nuw, i'm dod,
Sef ynod ymddiriedaf;
Nes myned heibio'r aflwydd hyn,
Dan d'edyn ymgysgodaf.

2 Ymddiried f'enaid ar Dduw sydd,
Ar Dduw trwy ffydd y galwaf,
Ac a gwblhaf ei air yn iawn,
Sef cyfiawn yw'r Goruchaf.

3 Ymddyrcha Dduw y nef uwchlaw,
Oddiyno daw d'arwyddion,
A bydded dy ogoniant ar
Y ddaear, a'i thrigolion.

## SALM LXI.

1 ERGLYW O Dduw fy llefain i,
Ac ar fy ngweddi gwrando :
Rhof lef o eitha'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.

2 Dwg fi i dalgraig uwch na mi,
Ac iddi bydd i'm derbyn:
Can's craig o obaith, twr difost,
I'm fuost rhag y gelyn.

3 O fewn dy babell y bydd byth,
Fy nhrigfan dilyth dedwydd:
A'm holl ymddiried a fyn fod,
Yn nghysgod dy adenyddd.

## SALM LXII.

1 FY unig Dduw ydyw fy mhlaid,
Mae f'enaid yn ei ddysgwyl,
O hono ef, a thrwy ei rym,
Daw iechyd im' o'm hanwyl.

2 Yn Nuw yn unig mae i gyd,
Fy iechyd, a'm gogoniant,
Fy Nghraig yw, a'm cadernid maith,
A'm gobaith yn ddilysiant.

## SALM LXIV.

1 O ARGLWYDD Dduw, erglyw fy llef,
A chlyw o'r nef fi'n erfyn,
O Dduw cadw fy einioes i,
Y sydd yn ofni'r gelyn.

2 Ond yn yr Arglwydd llawenha,
Ac y gobeithia'r cyfion,
A gorfoledda ynddo'n iawn,
Pob dyn ag uniawn galon.

## SALM LXV.

1 I TI o Dduw y gweddai mawl,
Yn y sancteiddiawl Sïon,
I ti y telir trwy holl gred,
Bob gwir adduned calon.

2 Pawb sydd yn pwyso atat ti,
A wrendy weddi dostur,
Ac atat ti y daw pob cnawd,
Er mwyn gollyngdawd llafur.

3 Dy etholedig dedwydd yw,
Caiff nesnes fyw i'th Babell,
Trig i'th gynteddau, ac i'th lys,
A'th sanctaidd weddus gangell.

4 Coroni'r ydwyt ti fal hyn,
Y flwyddyn â'th ddaioni,
Y ffordd hyn a'r modd, Duw fy Ner,
Diferaist frasder arni.

## SALM LXVI.

1 O BOBLOEDD, molwch Dduw ar gais,
A moeswch lais ei foliant:
Hwn sy'n dal bywyd yn y gwaed,
A ddeil ein traed na lithrant.

2 Ag offrwm poeth i'th dŷ yr âf,
Talaf fy addunedau,
Y rhai mewn cyfwng, rhag mwy trais,
Addewais â'm gwefusau.

3 O dowch yn nes, a gwrandewch chwi
Sy'n ofni Duw tragfythoes:
Mi a fynegaf i chwi'n ffraeth
Pa les a wnaeth i'm heinioes.

## SALM LXVII.

1 TRUGAREDD Duw i'n plith,
A rhoed ei fendith drosom:
A thywyned ei wyneb-pryd,
A'i nawdd, a'i iechyd, arnom.

2 Duw, moled pobloedd di,
Rhont fawl a bri trwy'r holl-fyd:
A'r holl genedloedd is wybren,
Byddant lawen a hyfryd.

3 Duw, moled pobloedd di,
Rhont fawl a bri trwy'r holl-fyd:
Yna rhydd y tir ffrwyth i'n plith,
A Duw ei fendith hefyd.

## SALM LXVIII.

1 BENDIGAID fyth fo'r Arglwydd mau,
Am ddoniau ei ddaioni:
A'i iachawdwriaeth i ni'n llwyth,
O ber-ffrwyth ei haelioni.

2 Efe 'i hun yw'n Duw ni i gyd,
Sef Duw ein hiechyd helaeth:
Trwy'r Arglwydd Dduw cawn, yn ddiswrth,
Ddïanc oddiwrth farwolaeth.

3 Clodforwch Dduw, hyny sydd dda,
Ym mhob cyn'lleidfa ddiwael:
A chlodforwch yr Arglwydd Ion,
Chwi sydd o ffynnon Israel.

## SALM LXXI.

1 DUW bydd yn graig o nerth i mi
I gyrchu ati 'n wastad:
A phar fy nghadw i yn well;
Ti yw fy nghastell caead.

2 Fy ngobaith inau a saif byth
Yn ddilyth a safadwy:
Ymddiried ynot Dduw a wnaf,
Ac a'th foliannaf fwyfwy.

3 Dy gyfiawnder yn uchel aeth,
Yr hwn a wnaeth bob mawredd:
Duw, pwy y sydd debyg i ti?
Nid ydym ni ond gwagedd.

## SALM LXXII.

1 DUW, dod i'r Brenin farn o'r nef,
Dod i'w Fab ef gyfiawndeb:
Yna y rhydd rhwng pobl iawn frawd,
Ac i'r dyn tlawd uniondeb.

2 Llwydda efe o for hyd for,
O'r ffrwd hyd oror tiredd:
Ei gas ymgrymant, llyfant lwch,
Hyd yr anialwch cyrhaedd.

3 Bendigaid fo yr Arglwydd Dduw,
Sef Duw yr Israel dirion,
Efe 'n unig byth sy'n parhau
I wneuthur gwyrthiau mawrion.

## SALM LXXIII.

1 PA'M? pwy O Dduw sydd genyf fi
Ond tydi yn y nefoedd?
Dim ni ddymunwn gyd â thi,
Wrth weini daear leoedd.

2 Fy nghalon i, a'm nerth, a'm cnawd,
Y sydd mewn palldawd beunydd:
Ond tydi, Dduw, sydd ar fy rhan,
A'm tarian yn dragywydd.

3 Ond mi ddof nes-nes at fy Nuw:
Fy ngobaith yw i'm calon:
Y traethaf fi ei nerth, a'i wyrth,
O fewn dy byrth, merch Sïon.

## SALM LXXVII.

1 FY llais at Dduw, pan roddais lêf,
Fy llais o'r nêf fe'i clybu;
A'm llais gweddïais ar Dduw Nêr,
Pan oedd blinder yn tarddu.

2 Yna y cofiwn Dduw a'i glôd,
Pan syrthiai drallod enbyd:
Yna gweddïwn drôs fy mai,
Pan derfysgai fy ysbryd.

## SALM LXXIX.

1 O DDUW ein hiechyd, cymhorth ni,
Er mwyn dy fri gogonol;
A gwared, er mwyn d'enw tau,
Ni rhag pechodau marwol.

2 Ninau, dy bobl a'th ddefaid mân,
A wnawn it' gân ogonawl,
O oes i oes byth i barhau,
Ac i'th fawrhau 'n dragwyddawl.

## SALM LXXX.

1 O DDUW y lluoedd, edrych, gwel,
A dychwel i ymg'leddu
Y winllan hon, a blennaist di
A'th law, a'i rhoddi 'dyfu.

2 A dadymchwel nyni i fyw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd:
Tywyna arnom d' wyneb-pryd,
Ni a gawn iechyd bythoedd.

## SALM LXXXI.

1 O CENWCH fawl i Dduw ein nerth,
Cerdd brydferth cenwch iddo:
A llafar lais, a genau ffraeth,
Gerddwriaeth i Dduw Iago.

2 Caseion ein Duw, yn ei lid,
A ostyngesid iddaw:
Ac ef a roisai yn y tir
Ammodau hir i'r eiddaw.

3 Ein Duw a roisai iddynt borth,
   Trwy frasder cymhorth rhadol:
Rhoi mel o'r graig, rhoi llaeth yn flith,
   A gwenith yn ddigonol.

## SALM LXXXIV.

1 MAE f' enaid i (fy Ion) mewn blys
   I'th gyssegr lys dueddu:
Fy nghalon i, a'm holl gnawd, yw
   Yn Nuw byw'n gorfoleddu.

2 Gwyn ei fyd a drig yn dy dŷ,
   Caiff dy foliannu ddigon:
Ac ynot ti sy'n cadarnhau,
   A'th lwybrau yn eu calon.

3 Gwell yw na mil, un dydd i'th dŷ;
   Am hyny mwy dewisol
Im' fod ar riniog y drws tau,
   Na phlasau yr annuwiol.

4 Sef, haul a tharian yw Duw mâd,
   A rydd râd a gogoniant:
Ni lestair ef ddaioni maith,
   I'r rhai a berffaith rodiant.

5 O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr,
   Anfon i lawr dy gymmod:
Dedwydd yw'r dyn a roddo 'i gred,
   A'i holl ymddiried, ynod.

## SALM LXXXV.

1 DA wyt i'th dir, Jehofa [illegible],
   Dychwelaist gaethder [illegible]:
Maddeuaist drawsedd dy [illegible]
   Mae'u camwedd [illegible]

2 Tynaist dy lîd [illegible]
   Troist dy [illegible]
O Dduw [illegible]
   A'th [illegible]

3 Ai byth y digi wrthym ni?
  A sorri di hyd ddiwedd?
A saif dy lid o oes i oes?
  Duw, gwrando, moes drugaredd.

4 Ei drugaredd, a'i wirionedd
  Ar unwaith cyfarfuant:
Ei uniondeb, a'i hedd y'nghŷd,
  Trwy'r tir a'mgyd-gusanant.

## SALM LXXXVI.

1 CAN'S ti, O Arglwydd, ydwyt d
  I'th bobloedd, a thrugarog:
I'r rhai a alwant arnat ti,
  Mae dy ddaioni 'n bleidiog.

2 O Arglwydd, clyw fy llais mor llyı
  A'm gweddi y'm myfyrdod:
Clywi fy llais, gweli fy nghlwyf,
  Y dydd y bwyf i'm trallod.

3 Can's tydi ydwyt fawr a phur,
  Yn gwneuthur rhyfeddodau:
A thydi 'n unig wyt yn Dduw;
  Ni cheisiwn amryw dduwiau.

## SALM LXXXVII.

1 O DDINAS Duw, preswylfa 'r l
  Mawr ydyw'r son am danad:
A gogoneddus air it' sydd
  Uwch trigfenydd yr holl-wlad.

2 Ond d'wedir hyn am Sïon bêr,
  Fe anwyd llawer ynddi,
Nid ambell un: can's swcwr da
  Yw Duw goruchaf iddi.

3 Cantor tafod, a cherddor tant,
Pob rhai it' canant fawrglod:
A thrwy lawenydd mae'n parhau
Fy holl ffynnonau ynod.

## SALM LXXXVIII.

1 O DDUW, fy iechyd, nos a dydd
Mae 'ngweddi 'n ufudd arnad:
Gostwng dy glust, O Arglwydd nef,
A doed fy llef hyd atad.

2 Y mae fy ngolwg gan dy lid,
Mewn gofid o fawr gystudd:
Duw, llefais arnad yn fy mraw,
Gan godi 'nwylaw beunydd.

## SALM LXXXIX.

1 MYFYRIAF gerdd, byth i barhau,
O drugareddau 'r Arglwydd:
A'i wirionedd i'm genau fydd,
Hyd dragywydd, yn ebrwydd.

2 Pwy sydd debyg i ti, Dduw byw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd?
Yn gadarn Ior, a'th wir i'th gylch,
O amgylch yr holl nefoedd.

3 Can's o'r Arglwydd, a'i ddaioni,
Y daw i ni ymddiffyn:
O Sanct Israel trwy ei law,
Oddi yno daw ein Brenin.

## SALM XC.

1 DUW! buost in' yn Arglwydd da,
Ac yn breswylfa i drigo,
O bryd i bryd, felly yr aeth
Pob rhyw genedlaeth heibio.

2 Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
Cyn llunio llawr cwmpas-fyd,
Duw! o drag'wyddol wyt cyn neb,
Hyd dragwyddoldeb hefyd.

3 Nid yw dyn, ond fel hûn, neu ail
I addail, neu lifeiriant,
Neu megys glas lysieuyn gwan,
Mor fuan y newidiant.

4 Yr hwn y bore gwyrddlas fydd,
A gwawr o newydd arno:
Ond pan tòrer ef brydnawn,
Yn fuan iawn mae'n gwywo.

5 O Dduw, gwna weled dy fawr waith,
A'th wyrthiau maith i'th weision,
A'th odidowgrwydd, a'th ffyniant,
Yn mysg eu plant a'u hwyrion.

## SALM XCI.

1 Y SAWL a drigo, doed yn nes,
Yn lloches y Goruchaf,
Ef a ymerys i gael bod
Y'nghysgod hwn sydd benaf.

2 Ni ddygwydd niweid it', ond da,
Na phla, na dim echryslon,
I'th eglwys a'th gyn'lleidfa nawdd;
Can's archawdd i'w angylion.

3 Fe gaiff fyw yn ddigon o hyd,
Caiff yn y byd hir ddyddiau;
Dangosaf iddo radlawn faeth,
A'm hiachawdwriaeth inau.

## SALM XCII.

1 Y RHAI a blanwyd yn nhŷ Dduw,
Yn goedwydd byw y tyfant,
Ac y'nghynteddau ein Duw ni
Y rhei'ny a fiodeuant.

2 A dwyn eu ffrwyth a wnant o faint,
Yn amser henaint etto,
Tirfion, iraidd, a phrofadwy
A fyddant hwy yn hilio.

3 I ddangos nad traws, ac nad cam
Yw f'Arglwydd a'm cadernid,
Ac nad oes ynddo na chamwedd,
Na dim anwiredd hefyd.

## SALM XCV.

1 O DOWCH, a chanwn i'r Arglwydd,
Efe yw llwydd ein bywyd:
Ac ymlawenhawn yn ei nerth,
Ef yw ein prydferth iechyd.

2 O down yn unfryd ger ei fron,
A chalon bur ddiolchgar:
Brysiwn at Dduw, dan lawenhau,
A chanwn Salmau'n llafar.

3 Can's ef i ni y sydd Dduw da,
A phobl ei borfa ydym:
A'i ddefaid ym, os chwi a glyw
Ei air ef heddyw'n gyflym.

## SALM XCVI.

1 O CENWCH glod i'r Arglwydd mad,
A moeswch ganiad newydd:
Yr holl ddaear datgenwch fawl,
Yr Arglwydd nefawl beunydd.

2 Cenwch chwi glod i'r Arglwydd nef,
A'i enw ef bendigwch,
A'i iachawdwriaeth trwy grefydd,
O ddydd i ddydd cyhoeddwch.

3 Datgenwch byth ei glod a'i rad
Y'ngwlad y cenedlaethoedd,
A'i ryfeddodau ef yn mhlith
Pob amryw amrith bobloedd.

4 I'r holl genedloedd d'wedwch hyn,
Yr Arglwydd sy'n teyrnasu:
Nid ysgog y byd sy'n sicr iawn,
Ef a ŵyr uniawn farnu.

## SALM XCVIII.

1 CENWCH i'r Arglwydd newydd gân,
Ei waith fu lân ryfeddod:
Ei law ddehau a'i fraich a wnaeth,
In' iachawdwriaeth parod.

2 Curant, canant, o flaen Duw cu,
Yr hwn sy'n barnu'r bydoedd:
I'r byd y rhydd ei farn yn iawn,
Ac yn uniawn i'r bobloedd.

## SALM XCIX.

1 YR Arglwydd Dduw yw ein brenin,
Er maint yw trin y bobloedd:
Mae'n eistedd rhwng dau gerubyn,
Fe gryn pob daear-leoedd.

2 Canys Brenin mawr ydyw'r Ion,
Yn Sïon, o'i ddyrchafael:
Ac uwchlaw pobloedd yr holl fyd,
Y sydd o ryddid uchel.

3 Dyrchefwch ein Duw Ior am hyn,
Yn Sïon fryn cyssegraidd,
Ymgrymwch iddo yn eich byw,
Sef unig Dduw sydd sanctaidd.

## SALM C.

1 I'R Arglwydd cenwch lafar glod,
A gwnewch ufudd-dod llawen fryd:
Dowch o flaen Duw â pheraidd dôn,
Trigolion y ddaear i gyd.

2 Gwybyddwch mai'r Arglwydd sydd Dduw,
A'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fod,
Nid ni'n hunain; ei bobl ym ni,
A defaid rhi' ei borfa a'i nod.

3 O ewch i'w byrth â diolch brau;
Yn ei gynteddau molwch ef:
Bendithiwch enw Duw hynod,
Rhowch iddo glod trwy lafar lef.

4 Can's da yw'r Arglwydd, awdwr hedd,
Da ei drugaredd, a dilyth,
A'i wirionedd i ni a roes,
O oes i oes, a bery byth.

## SALM CII.

1 PAN adeilader Sïon wych,
A hon yn ddrych i'r gwledydd;
Pan weler gwaith yr Arglwydd ne',
Y molir e'n dragywydd.

2 Hyn fydd pan gasglo pawb y'nghyd,
Yn unfryd i'w foliannu:
A'r holl deyrnasoedd dont y'ngwydd
Yr Arglwydd, i'w was'naethu.

3 O cyfod bellach, trugarha,
O Dduw bydd dda wrth Sïon;
Mae'n amser wrthi drugarhau,
Fel dyma'r nodau'n union.

## SALM CIII.

1 FY enaid mawl sanct Duw yr Ion,
A chwbl o'm heigion ynof;
Fy enaid n'ad fawl f'Arglwydd nef,
Na'i ddoniau ef yn anghof.

2 Yr hwn sy'n maddeu dy holl ddrwg,
Yr hwn a'th ddwg o'th lesgedd;
Yr hwn a weryd d'oes yn llon,
Drwy goron o'i drugaredd.

3 Os pell yw'r dwyrain oleu hin
Oddiwrth orllewin fachlud;
Cyn belled ein holl bechod llym
Oddiwrthym, ef a'i symud.

4 Ac fel y bydd nawdd, serch a chwant,
Tad da i'w blant naturiol,
Felly cawn serch ein Tad o'r nef,
Os ofnwn ef yn dduwiol.



## SALM CIV.

1 O DDUW, mor rhyfedd yw dy waith,
O'th synwyr berffaith dradoeth!
Gwnaethost bob peth â doethder, dawn,
A'r tir sy lawn o'th gyfoeth.

2 Duw, pan ollyngech di dy rad,
Fel rhoddi crëad newydd,
Y modd hyn wyneb yr holl dir
A adnewyddir beunydd.

3 Canaf i'r Arglwydd yn fy myw,
Canaf i'm Duw tra fyddwyf:
Mi a lawenhaf yn fy Ion,
Bydd ffyddlon hyn a wnelwyf.



## SALM CV.

1 CLODFORED pawb yr Arglwydd nef,
Ar ei enw ef y gelwch,
A'i weithredoedd yn mysg pobloedd,
Yn gyhoedd a fynegwch.



2 Ceisiwch yr Arglwydd, a'i nerth mawr,
A'i fodd bob awr yn rhadlon:
Cofiwch ei holl ryfeddodau,
A barn ei enau cyfion.

## SALM CVI.

1 MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw,
Moliennwch Dduw y Llywydd:
Oblegid ei drugaredd fry
A bery yn dragywydd.

2 O Arglwydd, cofia fi dy was,
Yn ol dy ras i'r eiddod:
Ymwel â mi i'm cystudd caeth,
A'th iachawdwriaeth barod.

## SALM CVII.

1 Y GWAREDIGION canent fawl,
I Dduw gerdd nodawl gyson:
Y sawl' achubwyd, caned hyn,
O law y gelyn creulon.

2 Yna eu gwared hwynt a wnaeth,
O'i holl orthrymgaeth foddion,
'Rhyd yr iawn ffordd fe'u dug mewn hedd,
I dref gyfanedd dirion.

3 Addefant hwythau ger ei fron,
Ei fwynion drugareddau:
Ac er plant dynion fel y gwnaeth
Yn helaeth ryfeddodau.

## SALM CVIII.

1 MAWL iti f' Arglwydd, pan ddeffrôf,
A rôf ym mysg y bobloedd:
A chlodfori dy enw a wnâf,
Lle amlaf y cenedloedd.

2 O unig Dduw, bydd in' yn borth,
Mae'n ofer cymhorth undyn,
Yn Nuw y gwnawn wrolaeth fawr,
Fe sathr i lawr ein gelyn.

## SALM CIX.

1 CYMHORTH di fi Arglwydd fy Nu
Cadw fi'n fyw â'th nodded:
Fel y gwyper mai gwaith dy law,
Yw'r lles a ddaw i'm gwared.

2 O herwydd ar ddeheulaw'r tlawd
Y saif ddydd brawd yn gefnog;
I gadw ei enaid ef yn gu,
Rhag ei farnu yn euog.

## SALM CX.

1 D'WEDAI'R Arglwydd wrth f'Arglw
Ar fy llaw ddehau eistedd:
Nes rhoddi'r rhai a gais dy waed
Yn fainc-draed it' i orwedd.

2 Yn nydd dy nerth dy bobl a ddaw,
Ag aberth llaw'n wyllysgar,
Yn sanctaidd hardd daw'r cynyrch tau
O wlith y borau hawddgar.

3 Yr Arglwydd tyngodd, ac ni wâd,
Ti sy'n Offeiriad bythol,
Wrth urdd Melchisedec odd' fry
A bery yn dragwyddol.

4 O wir frys i'r gyflafan hon,
Fe yf o'r afon nesa'
A gaffo ar ei ffordd yn rhwydd,
A'r Arglwydd a'i dyrchafa.

## SALM CXI.

1 CLODFORAF fi fy Arglwydd Ion,
O wyllys calon hollol,
Mewn cynnulleidfa ger eu bron,
Mewn tyrfa gyfion rasol.

2 Mawr iawn yw gwyrthiau'n Harglwydd ni,
Hysbys i bawb a'i hoffant:
Ei waith a'i iawnder pery byth
A'i wehelyth ogoniant.

3 Yr Arglwydd a wnaeth ei goffhau,
Am ryfeddodau nerthol:
Can's Arglwydd noddfawr yw i ni,
Llawn o dosturi grasol.



## SALM CXII.

1 DEDWYDDOL yw mewn buchedd dda,
Y sawl a ofna'r Arglwydd,
A'i orchymynion anwyl ynt,
Bydd iddo helynt hylwydd.

2 Ei had fydd nerthol yn y tir,
Bendithir hil rhai union:
Golud a chyfoeth yn ei dy,
Dros byth y pery'n gyfion.



## SALM CXIII.

1 CHWI weision Duw molwch yr Ion,
Molwch ei enw â llafar dôn,
Bendigaid fyddo ei enw ef:
O godiad haul hyd fachlud dydd,
Mawr enw yr Ion moliannus fydd,
Yn y byd hwn, ac yn y nef.

2 Dyrchafodd Duw uwch yr holl fyd,
A'i foliant sy uwch nef i gyd,
Pwy sy gyffelyb i'n Duw ni?
Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon darostwng ef,
Gwel ef ein cam, clyw ef ein cri.

3 Yr hwn sy'n codi'r tlawd o'r llwch,
A'r rheidus o'i ddiystyrwch,
I'w gosod uwch penaethiaid byd:
I'r anmhlantadwy mae'n rhoi plant,
Hil deg, a thylwyth, a llwyddiant;
Am hyn moliennwch Dduw i gyd.

## SALM CXIV.

1 PAN ddaeth Israel o'r Aipht faith,
A thŷ Iago o estron iaith,
Juda oedd ei sancteiddrwydd ef,
Israel oedd benaethiaeth Ior,
Gwelodd hyn, a chiliodd y môr,
A throes i'w hol Iorddonen gref.

2 Neidiai'r mynyddoedd megys hyrdd,
A'r bryniau fel ŵyn llàment ffyrdd;
Cawsant wastad megys llawr dol.
Ciliaist O for dywed, paham?
Tithau, Iorddonen lathraidd lam,
Pa'm y dadredaist dithau'n d'ol?

3 Chwychwi fynyddoedd, pa'm y ffoech,
Fel hyrddod? a pha'm nad arhoech?
A chwithau, fryniau, fel ŵyn mân?
Am mai rhaid ofni Duw Iago,
Yr hwn sy'n troi'r graig yn llyn tro,
A'r callestr yn ffynnon ddwfr glân.

## SALM CXV.

1 NID i ni, Arglwydd, nid i ni,
Y dodi y gogonedd:
Ond i'th enw dy hun yn hawdd,
Er mwyn dy nawdd a'th wiredd.

2 'Rhai a ofnwch yr Arglwydd Ion,
Rhowch arnoch union holl-fryd:
Efe yw'r neb a'ch dwg i'r làn,
Eich porth a'ch tarian hefyd.

3 Yr Arglwydd arnoch, arnoch chwi,
A wna ddaioni amlach:
Ac a chwanega ar eich plant
Ei fwyniant yn rymusach.



## SALM CXVI.

1 DA genyf wrando'r Arglwydd nef
Ar lais fy llef a'm gweddi:
Am iddo fy nghlywed i'n hawdd,
Byth archaf ei nawdd imi.

2 Cyfion yw'r Ion, trugarog iawn;
Ein Duw sy lawn o nodded:
Duw a geidw'r gwirion; bûm i
Mewn cyni, daeth i'm gwared.

3 Mi a gymeraf, gan ro'i mawl,
Y phïawl iachawdwriaeth:
Ac a alwaf, er mwyn fy llwydd,
Ar enw yr Arglwydd benaeth.

4 I'r Arglwydd bellach tala'n frau
Fy addunedau cyfion:
Yn Nghaersalem, dy sanctaidd dŷ,
O flaen dy deulu ffyddlon.

## SALM CXVII.

1 O CENWCH fawl i'r Arglwydd nef,
Moliennwch ef, genedloedd:
Molwch ei enw ef trwy'r byd,
Chwithau i gyd y bobloedd.

2 Am ei fod inni yn dda iawn,
Yr Arglwydd llawn trugaredd:
A'i air ef fydd yn parhau byth;
Sef ei ddilyth wirionedd.



## SALM CXVIII.

1 YR Arglwydd sydd im' gyda mi,
Nid rhaid im' ofni dynion;
Yr Arglwydd sydd y'nghyd â mi,
Er cosbi fy ngelynion.

2 Gwell yw gobeithio yn Nuw cun,
Nag mewn un dyn o'r aplaf:
Gwell yw gobeithio yn yr Ion,
Na'r tywysogion penaf.

3 I'm hing gelwais ar f'Arglwydd cu
Hawdd ganddo fu fy nghlywed:
Ef a'm gollyngodd i yn rhydd,
O'i lân dragwyddol nodded.

4 Y maen sy ben congl-faen i ni,
A ddarfu'r seiri wrthod:
O'r Arglwydd Dduw y tyfodd hyn,
Sy gan ddyn yn rhyfeddod.

5 Yr Arglwydd a'i gwnaeth, dyma'r dydd
Er mawr lawenydd ini:
Ynddo cym'rwn orfoledd llawn,
Ymlawenhawn am hyny.

## SALM CXIX.

1 POB cyfryw ddyn y sydd a'i daith
Yn berffaith, mae fe'n ddedwydd:
Y rhai'n fucheddol a rodian'
Y'nghyfraith lân yr Arglwydd.

2 Pa fodd, O Dduw, y ceidw llanc,
Sydd ieuanc, ei holl lwybrau?
Wrth ymgadw, yn ol dy air,
Pob llwybr a geir yn olau.

3 Bydd dda i'th was, a byw a wna,
A'th air a gadwa'n berffaith:
A'm llygaid agor di ar led
I weled rhin dy gyfraith.

4 Mor gu, O Arglwydd, genyf fi
Dy ddeddf di a'th gyfammod!
Ac ar y rhai'n, o ddydd i ddydd,
Y bydd fy holl fyfyrdod.

5 Dy air i'm traed i llusern yw,
A llewyrch gwiw i'm llwybrau:
Tyngais, a chyflawni a wnaf,
Y cadwaf dy lân ddeddfau.

6 O cynnal fi, fy Arglwydd Naf,
A byddaf iach dragwyddol:
Ac yn dy ddeddfau iach y bydd
Fy llawenydd gwastadol.



## SALM CXXI.

1 DYSGWYLIAF o'r mynyddoedd draw,
Lle daw i'm help wyllysgar:
Yr Arglwydd rhydd i'm gymhorth gref,
Hwn a wnaeth nef a daear.

2 Dy droed i lithro ef nis gâd,
A'th Geidwad fydd heb huno:
Wele, Ceidwad Israel lân
Heb hûn na hepian arno.

3 Yr Ion a'th geidw rhag pob drwg,
A rhag pob cilwg anfad:
Cei fyn'd a dyfod byth yn rhwydd;
Yr Arglwydd fydd dy Geidwad.

## SALM CXXII.

1 I DY'R Arglwydd pan dd'wedent, Awn,
Im' llawen iawn oedd gwrando:
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
Yr un ni syrth oddiyno.

2 Caersalem lân, ein dinas ni,
Ei sail sydd ynddi 'i hunan:
A'i phobl sydd ynddi yn gytun,
A Duw ei hun â'i drigfan.

3 Can's yno daw y llwythau 'nghyd,
Yn unfryd, llwythau'r Arglwydd:
Tystiolaeth Israel a'i drig-fod,
A chlod i'w fawr sancteiddrwydd.

4 Can's yno cadair y farn sydd,
Eisteddfod Dafydd yno:
Erchwch i'r ddinas hedd a mawl,
A llwydd i'r sawl a'th garo.

5 O fewn dy gaerau heddwch boed,
I'th lysoedd doed yr hawddfyd:
Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
A'm cymydogion hefyd.

## SALM CXXIII.

1 TUEDDA 'ngolwg at y ne',
Fy Nuw, dy le trigianol:
Fel y try gweision eu llygaid
At ddwylo'u meistriaid bydol.

2 Llygaid llawforwyn, ar bob tro,
A ddilyn ddwylo'i meistres.
Dysgwyliwn arnat Dduw'r un wedd,
Am dy drugaredd gynes.

## SALM CXXV.

1 SAWL a 'mddiriedant yn Nuw Ion,
Byddant fel Sïon fynydd,
Yr hwn ni syfl: a'i sylwedd fry
A bery yn dragywydd.

2 Fel y saif sail Caersalem fry,
A'i chylchu mae mynyddoedd:
Felly yr Arglwydd yn gaer sydd
Dragywydd cylch ei bobloedd.

## SALM CXXVI.

1 PAN ddychwelodd ein gwir Dduw Ion
Gaethiwed Sïon sanctaidd:
Mor hyfryd genym hyn bob un,
A rhai mewn hun nefolaidd.

2 Nyni â'n genau yn dda'n gwedd,
Gorfoledd ar ein tafod,
Y'mhlith cenedloedd d'wedynt hyn;
Fe wnaeth Duw drostyn' ystod.

3 Y rhai sy'n hau mewn dagrau blin
Hwynt-hwy dan chwerthin medant:
Felly, f'Arglwydd, dan droi y byd,
Dwg ni i gyd i'r meddiant.

## SALM CXXVII.

1 Y TY ni adeilado'r Ner,
Ai' n ofer gwaith y seiri:
Ar ddinas hon nis ceidw efô,
Ni thycia gwylio ynddi

2 Os bore godi, os hûn hwyr,
A byw trwy lwyr ofidio;
Ofer i gyd: Duw a rydd hûn,
I bob rhyw un a'i caro.

3 Wele, y plant a ro'ir i ddyn,
Hiliogaeth y'n i'r Arglwydd:
Ac o'i rodd ef daw ffrwyth y bru,
I'w magu mewn sancteiddrwydd.

## SALM CXXVIII.

1 CEI gyflawn fendith gan Dduw Ion,
Bydd dithau, Sïon, ddedwydd:
Fel y gwelych, â goleu drem,
Gaersalem mewn llawenydd.

2 Holl ddyddiau d'einioes, plant dy blant,
Cei weled llwyddiant iddynt:
Ac ar holl deulu Israel,
Daw hedd dyogel arnynt.

## SALM CXXX.

1 O'R dyfnder gelwais arnat, Ion:
O Arglwydd tirion gostwng
Dy glust, ystyria y llais mau,
Clyw fy ngweddïau teilwng.

2 Duw, pwy a saif yn d'wyneb di,
Os creffi ar anwiredd?
Ond, fel y'th ofner di yn iawn,
Yr wyt yn llawn trugaredd.

3 Ei drugareddau ânt ar led,
Fe rydd ymwared ini:
Fe weryd Israel; fel hyn
Fe'i tyn o'i holl ddrygioni.

## SALM CXXXII.

1 O ARGLWYDD, cyfod i'th esmwyth lys
A'th arch o rymus fawredd;
Gwisged d'offeiriaid gyfion fraint,
Gwisged dy saint wirionedd.

2 Er mwyn Dafydd, dy ffyddlon was,
Na thyn dy ras yn llidiog:
Ac na wrth'neba di, er neb,
Mo wyneb dy Eneinniog.

## SALM CXXXIII.

1 WELE, fod brodyr yn byw 'nghyd,
Mor dda, mor hyfryd ydoedd!
Tebyg i olew o fawr werth,
Mor brydferth ar y gwisgoedd.

2 Fel pe disgynai gwlith Hermon
Yn dô dros Sïon fynydd:
Lle rhwymodd Duw fywyd, a gwlith
Ei fendith, yn dragywydd.

## SALM CXXXIV.

1 WELE, holl weision Arglwydd nef,
Bendithiwch ef, lle'r ydych
Yn sefyll yn nhŷ Dduw y nos,
A'i gyntedd diddos trefnwych.

2 Dyrchefwch chwi eich dwylaw glân
Yn ei gyssegr-lân annedd:
A bendithiwch, â chalon rwydd,
Yr Arglwydd yn gyfanedd.

3 Yr Arglwydd, â'i ddeheulaw gref,
Hwn a wnaeth nef a daear,
A roddo ei fendith, a'i ras,
I Sïon, ddinas hawddgar.

## SALM CXXXV.

1 O MOLWCH enw'r Arglwydd nef,
Ei weision ef molienwch:
Y rhai a saif i'w dŷ a'i byrth,
I'n Duw, a'i fawrwyrth cenwch.

2 Molwch yr Arglwydd, can's da yw,
Clod i'r Ior byw a berthyn:
Cenwch ei glod drwy yr holl fyd,
A hyfryd yw y testyn.

3 Can's mawr yw'r Arglwydd yn ei lys;
Mi wn yn hyspys hyny:
Y'mhell uwchlaw'r holl dduwiau mân
Mae'r Arglwydd glân, a'i allu.

4 Benithier fyth mawr enw'r Ion,
O Sïon hen, a barchem:
Bendithier, moler ei enw fo,
Sy'n trigo yn Nghaersalem.



## SALM CXXXVII.

1 PAN oeddym gaeth yn Mabilon,
Ar lan prif afon groyw,
Mewn coffadwriaeth am Sïon,
Hidlason ddagrau'n loyw:

2 Rhoddasom ein telynau 'nghrog
Ar goed canghenog irion,
Lle yr oedd preniau helyg plan
Oddeutu glan yr afon.

3 Os â Caersalem o'r cof mau,
Anghofied dehau ganu:
Na throed fy nhafod, oni bydd
Hi'n ben llawenydd imi.

## SALM CXXXVIII.

1 YMGRYMAF tua'th sanctaidd dŷ,
Dan ganu o'th drugaredd:
A'th enw mawr uwchlaw pob peth,
A'th air difeth wirionedd.

2 Doed breninoedd y ddaear hon,
A rhoen' it' union foliant:
Addolent oll ein gwir-Dduw ni,
Can's d'eiriau di a glywsant.

3 Yn ffyrdd yr Arglwydd, yr un wedd,
Ac am ei Fawredd, canant:
Gan ddangos trwy'r holl fyd ei fraint,
A maint yw ei ogoniant.

4 Uchel yw'r Ion, etto fe wel
Yr ufudd isel ddynion:
A gwel o hirbell, er eu plâu,
Y beilch a'r gwarau sythion.

## SALM CXXXIX.

1 ARGLWYDD, manwl y chwiliaist fi,
Da y'm hadwaeni hefyd:
Eisteddiad, codiad, gwyddost hyn,
A'm meddwl cyn ei dd'wedyd.

2 Yr wyt y'nghylch fy lloches i,
A'm ffyrdd sydd iti'n hysbys:
Nid oes air nas gwyddost ei fod
Ar flaen fy nhafod ofnus.

3 Pe cawn adenydd bore wawr,
A myn'd i fôr mawr anial:
Yno bydd dy ddeheulaw di,
I'm tywys i, a'm cynnal.

4 Can's rhyfedd iawn y gwnaethpwyd fi,
A'th waith di sy ryfeddod:
A'm henaid a ŵyr hyny'n dda,
A hon a wna it' fawrglod.

5 Duw prawf fy meddwl i'n fy mol,
Oes ffordd annuwiol geny',
Gwel fi, tywys, dwg fi yn f'ol;
Dod ffordd dragwyddol i mi.

## SALM CXLI.

1 O BRYSIA, Arglwydd, clyw fy llais,
O brysur gelwais arnat:
O'r man lle bwyf gwrando fy llef,
A doed i'r nef hyd atat.

2 O Arglwydd, gosod, rhag gair ffraeth,
Gadwraeth ar fy ngenau:
Rhag im' gam-dd'wedyd, gosod ddor
Ar gyfor fy ngwefusau.

3 Mae 'ngolwg, a'm holl obaith i,
Duw, arnat ti dy hunan:
Duw, bydd di'n unig yn fy mhlaid,
Na fwrw f'enaid allan.

## SALM CXLIII.

1 ERGLYW fy arch, O Arglwydd mad,
Wyf arnad yn gweddïo:
O'th wirionedd, a'th gyfiawnedd,
Gofynaf it' fy ngwrando.

2 Fy nwylaw atat rhois ar led,
Lle mae f'ymddiried unig:
Am danat f'enaid sydd, yn wir,
Un wedd a'r tir sychedig.

## SALM CXLV.

1 MI a'th fawrygaf di, fy Nuw;
Can's tydi yw fy Llywydd:
Bendithio dy enw byth a wnaf;
Mi a'i molaf yn dragywydd.

2 Sef graslawn yw ein Harglwydd ni,
Ac o dosturi rhyfedd:
Hwyr ac annyben yw i ddig;
Llawnfrydig i drugaredd.

3 Wele, mae llygaid yr holl fyd
Yn dysgwyl wrthyd, Arglwydd:
Tithau a'u porthi hwynt i gyd,
Bawb yn ei bryd, yn ebrwydd.

## SALM CXLVI.

1 FY enaid, mola'r Arglwydd nef,
Mi a'i molaf ef i'm bywyd:
Dangosaf glod i'm Harglwydd Dduw,
Tra gallwyf fyw neu symud.

2 Hwn Dduw a wnaeth nef, daear, môr,
A'r holl ystôr sydd ynddynt:
Hwn a saif yn ei wir ei hun,
Pryd na bo un o honynt.

3 Yr Arglwydd yn teyrnasu fydd,
Dy Dduw tragywydd, Sïon:
O oes i oes pery dy lwydd:
Molwch yr Arglwydd tirion.

## SALM CXLVII.

1 MOLWCH yr Arglwydd; can's da yw
Canu i Dduw yn llafar:
O herwydd hyfryd yw ei glod,
A da yw bod yn ddiolchgar.

2 Caersalem dinas gyflawn fydd;
Yr Arglwydd sydd i'w darpar:
Gan gasglu Israel y'nghyd,
A fu trwy'r byd ar wasgar.

3 O Caersalem, gyflawn o lwydd,
Molianna'r Arglwydd eiddod:
O Sïon sanctaidd, dod, un wedd,
I'th Dduw glodforedd barod.

## SALM CXLIX.

1 CENWCH i'r Arglwydd, ac iawn fydd,
Ryw ganiad newydd rhyfedd:
A chlywer y'nghyn'lleidfa'r saint,
Ei fawr fraint, a'i orfoledd.

2 Boed Israel lawen a ffraeth
Yn Nuw, a'i gwnaeth yn ddibrin:
A byddant hyfryd blant Sïon
Yn Nuw, eu tirion Frenin.

## SALM CL.

1 MOLWCH Dduw yn ei gyssegr len,
Sef ei ffurfafen nerthol:
Molwch ef i'w gadernid llym,
Ac amlder grym rhagorol.

2 Holl bethau molent un Duw byth,
Sydd ynddynt chwyth y bywyd:
Rhoent gydgerdd foliant i barhau:
Clodforwn ninau hefyd.

## ENWAU YR AWDURON.

A. G.........Mrs. Anne Griffiths, Sir Drefaldwyn.
D. C.........Parch. David Charles, Caerfyrddin.
D. J. .........Mr. David Jones, Llanwrda, Deheudir.
Dr. L. ......Parch. Dr. Lewis, Drefnewydd.
*D. M.........Parch. David Morris, Deheudir.
D. T.........Mr. David Thomas, Caerfyrddin. Hymn 258.
D. W.........Mr. David Williams, Llandeilo-fach.
Dr. W........Parch. Dr. Watts. Hymn 492.
E. E.........Parch. Evan Evans, Caerlleon.
E. J.........Mr. Edward Jones, Maesyplwm.
E. P.........Parch. Edmund Prys, Meirionydd.
G. ..........“Grawnsypiau Canaan,” gan y Parch. Robert Jones, Rhoslàn.
Iago........Parch. James Hughes, Llundain.
J. E.........Parch. John Elias, Môn. Hymn 257.
J. H.........Parch. John Hughes, Pont Robert.
J. P.........Parch. J. Parry, Caerlleon. Hymn 491.
J. R.........Parch. J. Roberts, Llangwm. Hymn 274.
J. R. Ll-ll. Mr. John Roberts, Liverpool. Hymn 440.
J. T.........Mr. J. Thomas, Pentrefoelas. Hymn 344.
J. T.........Parch. John Thomas, Rhaiadr Gwy. Hymn 431.
J. W.........Parch. John Williams, Pantycelyn. Hymn 72.
J. W.........Mr. John Williams, Morganwg.
M. R.........Mr. Morgan Rhys, Deheudir.
Ml. R.......Parch. M. Roberts, Pwllheli. Hymn 339.
P. J.........Mr. Peter Jones, Liverpool.
R. H. ..... Mr. R. Hughes, Aberffraw. Hymn 497.
R. J.........Parch. R. Jones, Wern, Meirionydd.
R. J. Ll-ll. Mr. Richard Jones, Liverpool.
T. C.........Parch. T. Charles, A.B. Bala. Hymn 43.
T. J.........Parch. Thomas Jones, Dinbych.
W. W. ......Parch. William Williams, Pantycelyn, “Peraidd Ganiedydd y Cymry.”

*D.S. Nid ydym yn hysbys o Awduron yr Hymnau sydd heb enw wrthynt.*

# DANGOSEG

O BOB PENNILL YN MHOB HYMN A SALM DRWY'R LLYFR.



PRINTIWYD GAN R. LL. MORRIS, LIVERPOOL.

